# CASGLIAD

O

# PSALMAU A HYMNAU,

ADDAS I

## ADDOLIAD CYHOEDDUS

YR

## EGLWYS SEFYDLEDIG.



---

GAN Y PARCH. DANIEL REES,

Periglor Aberystruth, Sir Fynwy.

---

Cenwch fawl yn ddeallus. Psalm 47, 7.

Gan ddysgu a rhybuddio bawb eich gilydd mewn Psalmau a Hymnau, ac Odlau ysprydol, gan ganu trwy ras yn eich calonnau i'r Arglwydd. Col. 3, 16.

---

LLANYMDDYFRI:

ARGRAPHWYD GAN D. R. a W. REES.

---

MDCCCXXXI.

## AT Y DARLLENYDD.

---

Y MAE Casglydd a Chyfansoddydd y Gwaith hwn, ynghyd â llawer o'i frodyr yn y weinidogaeth, wedi hir deimlo a galaru dros yr eisiau o gasgliad o Psalmau a Hymnau, yn yr Iaith Gymraeg, addas i addoliad cyhoeddus yr Eglwys Sefydledig. Gan hynny, y mae efe yn gobeithio y bydd i'r ymgais presennol i gyflawni y fath ddiffyg, gyfarfod â derbyniad hynaws a thirion oddiwrth ei gyd eglwyswyr a'i gyd-gristionogion yn y dywysogaeth.

Y mae llawer o'r Psalmau yn y Llyfr hwn wedi eu dewis, gyda'r gofal mwyaf, allan o waith Archdiacon Prys ac eraill. Yn y rhai hyn fe genfydd y darllenydd cyfarwydd amrywiol o gyfnewidiadau; rhai o honynt wedi eu gwneuthur er mwyn cael amrywiaeth yn y mesurau, eraill er mwyn llyfnhâu y brydyddiaeth, newyddu yr ymadroddion, neu eglurhâu y synwyr. Gobeithia y Cyhoeddwr y bydd i'r fath gyfnewidiadau gael eu barnu gan y darllenwyr, fel yr ymddangosant iddo ef ei hun, yn ddiwygiadau. Y maent, yn gyffredinol, wedi gofyn a chael mwy o'i amser nâ phe buasai yn cyfansoddi y Psalmau o'r newydd. Ynghylch yr Hymnau, y mae o ddeutu'r chweched ran o honynt wedi eu cyfansoddi, neu eu cyfieithu o'r Saesneg, gan y Cyhoeddwr, yn fwriadol i'r Gwaith hwn. Y lleill ydynt wedi eu cym-

meryd o waith yr awdwyr goreu, ac y mae y rhan amlaf o honynt eisioes yn adnabyddus, ac mewn cymmeradwyaeth gyffredinol yn y dywysogaeth. Nid oes ond ychydig o gyfnewidiadau wedi eu gwneuthur ynddynt; a'r ychydig hynny yn unig lle yr ymddangosent yn hollol angenrheidiol.

Gan mai unig ddiben y Cyhoeddwr wrth gymmeryd y gwaith hwn mewn llaw, oedd diwallu cyfreidiau ei gynnulleidfa ei hun, ni fydd ei siommedigaeth yn fawr os na chyfrifir ei Lyfr yn deilwng o gymmeradwyaeth mwy cyffredinol. Ar yr un pryd, gan fod mawr eisiau rhyw gynnorthwy o'r fath ar lawer o weinidogion yr Eglwys Sefydledig yng Nghymru, nid yw yn debygol y bydd i'r un presennol fod yn anghymmeradwy ganddynt, nes caffont ryw beth amgenach yn ei le. Pa le bynnag y caffo dderbyniad, caniattâed yr Arglwydd ei fendith ar y defnydd o hono, fel y byddo yn offeryn effeithiol yn ei law, er lledu ei ogoniant ei hun, ac er adeiladaeth a diddanwch ysprydol pechaduriaid lawer. Hyn yw taer weddi a dymuniad y

*Aberystruth,*
*Ion.* 1, 1831.

CYHOEDDWR.

# TAFLEN

## Yn dangos y modd i gael allan bob Cyfran o'r Psalmau, wrth y Llinell gyntaf.

## DANGOSEG

### I gael allan unrhyw Gyfran o'r Psalmau, wrth ei Henw neu ei Chynnwysiad.

---

## DANGOSEG,

**Ym mha un y trefnir y Psalmau i ddyddiau'r mis, ac i'r Suliau a'r Gwyliau arbennig yn y flwyddyn, &c.—Bwriadir i'r gyfran gyntaf yn y drefn hon gael ei chanu ar ddechreu y gwasanaeth; yr ail, yn ei ganol; y drydedd, o flaen y bregeth; a'r olaf, ar ol y bregeth.**

---

Dydd o'r mis.

1.—Bore. Cyfran 6 neu 7, 5, 2, 261, adnod 3.
Nawn. Cyf. 10, 9, 11, 250, ad. 1, 4.
2.—Bore. Cyf. 12 neu 14, 13, 28 neu 131, 239, ad. 1, 2.
Nawn. Cyf. 17 neu 181, 18. 16 neu 15, 238, ad. 1.
3.—Bore. Cyf. 19 neu 20, 21 neu 22, 208, 242, ad. 3.
Nawn. Cyf. 23, 91, 24 neu 45, 249, ad. 2.
4.—Bore. Cyf. 25, 27, 26 neu 78, 183, ad. 2—4.
Nawn. Cyf. 33 neu 173, 30 neu 53, 32 neu 209, 135, ad. 3, 4.
5.—Bore. Cyf. 42neu 102, 34, 40, 192, ad. 3—5.
Nawn. Cyf. 43, 44 neu 85, 45, 48 neu 133, ad. 2, 3, 5.
6.—Bore. Cyf. 50, 49, 63, 203, ad. 1, 4.
Nawn. Cyf. 52, neu 55, 51, 58, 112, ad. 1—3.
7.—Bore. Cyf. 61, neu 62, 167, 63 neu 64, 138, ad. 2, 3.
Nawn. Cyf. 137, 65 neu 54, 66, 106, ad. 3.
8.—Bore. Cyf. 68 neu 173, 69, 72, 138, ad. 4.
Nawn. Cyf. 73 neu 135, 74 neu 227, 75 neu 77, 134, ad. 3. 4.

Dydd o'r mis.
9.—Bore. Cyf. 81, 79, 78, 206, ad. 1, 2, 4.
Nawn. Cyf. 84, 85, 76, 208, ad. 1, 3, 4.
10.—Bore. Cyf. 88 neu 38, 90, 93, 167, ad. 3, 4.
Nawn. Cyf. 98. 95 neu 198, 221, 246 ad. 2—4.
11.—Bore, Cyf. 97 neu 96, 99, 222, 81, ad. 2, 3.
Nawn. Cyf. 138. 110, 101 neu 130, 52, ad. 1, 4, 5.
12.—Bore. Cyf, 105 neu 59, 107. 103, 75 ad. 2. 3.
Nawn. Cyf. 108, 109 neu 56, 112 neu 206, 83, ad. 3—6.
13.—Bore. Cyf. 113 neu 100, 115 neu 67, 114 neu 226, 262, ad. 1, 4.
Nawn. Cyf. 117 neu 175, 157, 119, 108, ad. 2, 3.
14.—Bore. Cyf. 118, 120 neu 106, 121, 24, ad. 2—4.
Nawn. Cyf. 134, 80, 218 neu 242, 28, ad. 2, 4, 5.
15.—Bore. Cyf. 125, 127 neu 5. 217, 27, ad. 2.
Nawn. Cyf. 136, 171 neu 140, 131, 26, ad. 3—5.
16.—Bore. Cyf. 135, 129, 130, 61 neu 160, ad. 2—4.
Nawn. Cyf. 133, 140, 209, 50, ad. 1, 3, 4.
17.—Bore. Cyf. 142 neu 177, 143, 144, 181, ad. 2.
Nawn. Cyf. 149, 150, 148, 64 neu 136, ad. 2—4.
18.—Bore. Cyf. 159, 151, 223, 154.
Nawn. Cyf. 160 neu 161, 162, 39 neu 258, 155.
19.—Bore. Cyf. 163, 164 neu 165, 208, 22, ad. 1, 3, 4.
Nawn. Cyf. 172, 170, 168, 45, ad. 1, 3, 4.
20.—Bore. Cyf. 177, 182, 180, 62, ad. 1. 4.
Nawn. Cyf. 184 neu 185, 186 neu 187 neu 188, 212, neu 63, 189, ad. 3, 4.
21.—Bore. Cyf. 190 neu 254, 191, 211, 137, ad. 3. 4.
Nawn. Cyf. 46 neu 192, 34, 216, 6, ad. 2, 3, 4.
22.—Bore. Cyf. 249 neu 225, 193, neu 178, 31, 180, ad. 3—5.
Nawn Cyf. 255, 92, 1, 20, ad. 2, 3, 4.
23.—Bore. Cyf. 198, 197, 195 neu 196, 202.
Nawn. Cyf. 183, 199, 214, 240, ad. 1, 3, 4.
24.—Bore. Cyf. 203 neu 244, 204 neu 258, 207, 201.
Nawn. Cyf. 259, 156, 206, 226, ad. 2. 3.
25.—Bore. Cyf. 260 neu 41, 147 neu 104, 210, 224, ad. 2, 4, 5.
Nawn. Cyf. 261, 158 neu 228, 213, 57, ad. 2—4.
26.—Bore. Cyf. 224, 57 neu 181, 215, 228 neu 230, ad 1, 4, 5.
Nawn. Cyf. 239, 89, 219, 66, ad. 1, 3.
27.—Bore. Cyf. 225, 227, 226, 102, ad. 2—4.
Nawn. Cyf. 229 neu 245, 231 neu 230, 232 neu 207, 237
28.—Bore. Cyf. 233, 235, 234, 236.
Nawn. Cyf. 238, 240, 241, 63.

## SULIAU A GWYLIAU ARBENNIG.



## ACHLYSURON ERAILL.

# PSALMAU.

**1.** PSALM 1. (adn. 1—3, 6.) 8, 7.

*Y duwiol a'r annuwiol.*

1 Y SAWL ni rodia, dedwydd yw,
Yn ol drwg ystryw gyngor;
Ni saif ar ffordd troseddwyr ffol,
Nid eiste'n 'stol y gwatwor.

2 Ond ei holl serch a rydd yn rhwydd
Ar ddeddf yr Arglwydd uchod;
Ac ar ei ddeddfau, ddydd a nos,
Yn ddiddos ei fyfyrdod.

3 Fel pren a dŷf ar lan rhyw ddôl,
Dwg ffrwyth amserol arno;
Ni chrina'i ddalen werdd, a'i waith
A lwydda'n berffaith iddo.

4 Can's ffordd y cyfiawn uniawn yw,
Mae'n boddio Duw'n rhagorol;
Ond eiddo'r drwg sy'n arwain 'lawr
I'r poenau mawr uffernol.

**2.** ARALL. M. H.

1 GWYN fyd yr hwn nid â ar hyd
Ffordd lydan annuwiolion byd;
Ni châr gyfeillach gwŷr di-ras,
Ni siarad fel gwatwarwyr cas.

2 Ond ei ddifyrrwch penna' fydd
Y'nghyfraith Duw ar hyd y dydd;
A'r nos mewn oriau effro gair
Yn hoff fyfyrio yn ei Air.

3 Bydd hwn fel pren wrth ddyfroedd byw,
Yn las ei ddail yn eglwys Dduw;
A bendith werthfawr Brenin nef
A lwydda waith ei ddwylaw ef.

4 Can's hoffa'r Iesu ffordd ei saint,
Mae'n arwain fry i'r nefol fraint;
Ond llwybrau croes gelynion Crist
Sy'n tywys i'r trueni trist.

---

## 3. PSALM 2. (ad. 1—4, 6.) M.C.

*Marwolaeth a dyrchafiad Crist.*

1 PAHAM y cyfyd mawrion byd,
A'r bobl ynghŷd eu llef,
Gan lwyr fwriadu bwrw i lawr
Enneiniog mawr y nef?

2 Ymosod mae llywiawdwyr llym,
Ac ymgynghori 'nghŷd;
Yn erbyn Duw, a'i Grist ein plaid,
Y mae pennaethiaid byd.

3 Eu rhwymau, meddant, rho'wn yn rhydd,
Nis gwnawn ufudd-dod mwy;
Ond Duw, 'r hwn sydd uwch wybrol len,
O'r nen a'u gwatwar hwy.

4 Er maint eich tra, medd Duw, a'ch trais,
Gosodais fyth fel hyn
Fy Mrenin mawr yn Llywydd llon
Ar sanctaidd Sion fryn.

4. AIL RAN. (ad. 7, 8, 11, 12.) 8, 7.

*Adgyfodiad a theyrnasiad Crist.*

1 WEL dyma'r ddeddf, medd Iesu mad,
'R hon gan fy Nhad a glywais;
Ti yw fy Mab, o'm perffaith ryw,
A heddyw y'th genhedlais.

2 Gofyn, fy Mab, a'th Dad a rydd
Y gwledydd oll i'th feddiant;
A holl genhedloedd daear gron,
O'r bron, dy eiddo fyddant.

3 Gwas'naethwch mwy Etifedd nef,
Ac ofnwch ef yn wastad;
Ymlawenhêwch dan grynu i gyd,
Trwy'r byd, yng Nghrist eich Ceidwad.

4 Y Mab cusenwch, rhag ei ddig,
A'ch bwrw'n ffyrnig heibio;
Can's gwyn ei fyd y sawl a gred,
Ac a ymddiried ynddo.

---

5. PSALM 3. (ad. 3, 4, 8.) M. C.

*Ceisio Duw yn ei dŷ.*

1 TYDI wyt darian, Arglwydd Dduw,
I'th bobloedd byw trwy'r byd;
Ti, eu gogoniant, tua'r nen
A godi eu pen i gyd.

2 A'n llais y'th geisiwn di am hyn
O fewn cynteddau'th dŷ;
O! boed it' wrando'n llef ar frys
O'th sanctaidd freinllys fry.

3 I'r Arglwydd byw y perthyn byth
Ein hiechydwriaeth gref;
Ac ar ei saint y disgyn gwlith
Ei fendith helaeth ef.

6. PSALM 4. (ad. 1, 6, 7.) 8, 7.

*Dyrcha arnom lewyrch dy wyneb.*

1 TYDI, ein porth ar dir y byw,
Yn rasol clyw pan lefom;
Ti, 'r hwn a gedwi'th saint rhag drwg,
Attolwg, gwrando arnom.

2 Tra dywed llawer y pryd hyn,
Pwy ddengys in' ddaioni?
O Arglwydd dyrcha'th wyneb-pryd,
Daw gwynfyd ddigon ini.

3 Daw yna in' lawenydd mwy,
A hynny trwy dy fendith,
Nag a feddianna'r rhai sy'n trin
Amlder o'u gwin a'u gwenith.

4 Dy lwybrau di ŷnt hyfryd iawn,
Dy ffyrdd ŷnt lawn hyfrydwch;
Nag amlder ŷd neu win, fy Nuw,
Melusach yw dy heddwch.

---

7. PSALM 5. (ad. 1—3, 7, 8.) 8, 7.

*Uniona dy ffordd o'm blaen.*

1 FY ngeiriau clyw, O Arglwydd cu,
A deall fy myfyrdod;
Erglŷw fy llais a'm gweddi flin,
Fy Nuw a'm Brenin hyglod.

2 Yn fore, Iôr, y clywi'm llef,
Fy llais i'r nef dyrchafaf;
Fy ngweddi attat ddaw o'th dŷ,
I'r bryniau fry edrychaf.

3 I'th dŷ fel hyn y dof mewn hedd,
Am dy drugaredd galwaf;
Mewn ofn, a pharch, a goglud dwys,
I'th sanctaidd eglwys treiglaf.

4 O tywys fi â'th Ysbryd pur,
Yn nifyr ffyrdd uniondeb;
Gwna lwybyr pob dyledswydd lân
Yn oleu o fla'n fy wyneb.

---

**8.** PSALM 6. (ad. 1, 2, 4, 5, 9.) M. H.

*Gweddi am drugaredd.*

1 O ARGLWYDD, na cherydda fi
Ym mhoethni dy ddigofus lid;
Dy rad drugaredd bellach dod
I faddeu'm pechod mawr i gyd.

2 O achub f' enaid mawr ei bla,
Iachâ fi â'th drugàredd gu;
Nid oes yn angau gof na gwawl,
A phwy a'th fawl o'r priddfedd du?

3 Fe glyw, fe glyw fy Nuw fy arch,
Boed iddo barch a mawl dilŷth!
Fe wrendy fry fy ngweddi 'nawr,
Boed iddo fawr ogoniant fyth.

---

**9.** PSALM 7. (ad. 1, 9, 10, 17.) 8, 7.

*Fy ymddiffyn sydd o Dduw.*

1 YNOT ti y mae f' ymddiried,
Arglwydd, gwared fi, o'th ras,
Rhag gelynion blin fy enaid,
Satan, byd, a phechod cas:
Ti yw'm hunig Ymddiffynwr
Wrth ymdeithio'r dyrus fyd;
Ti, Iachawdwr y rhai uniawn,
Bydd i mi yn noddfa glyd.

2 Chwiliwr y calonnau ydwyt,
A'r arennau bob yr un;
Gosod ddiwedd ar anwiredd,
A chyf'rwydda'r cyfiawn ddyn:

Mwy yn ol dy fawr gyfiawnder
 Y'th glodforaf, O fy Nuw;
D' enw sanctaidd a ganmolaf,
 Y Goruchaf, tra fwy' byw.

---

**10.** PSALM 8. (ad. 1—4.) 8, 7.

*Ardderchog yw dy enw.*

1 O ARGLWYDD Nêr, ein Iôr a'n nerth,
 Mor brydferth wyt trwy'r hollfyd!
Dy barch a'th enw roist uwch ben
 Y dda'r a'r wybren hefyd.

2 Tra'th folir fry mewn nefol gân,
 Gan engyl glân a dedwydd;
Ti beri nerth o enau plant,
 A rhai a sugnant beunydd.

3 Wrth edrych ar y nefoedd faith,
 A gweled gwaith dy fysedd,
Y lloer, y ser, a threfn y rhod,
 A'u gosod mor gyfannedd:—

4 Pa beth yw dyn, a'i anwar ryw,
 I ti, O Dduw, i'w gofio?
I ti ymwel'd â'r adyn tlawd
 Mewn cnawd, a marw drosto?

5 O Arglwydd Nêr, ein Iôr a'n nerth,
 Mor brydferth wyt trwy'r hollfyd!
Dy barch a'th enw roist uwch ben
 Y dda'r a'r wybren hefyd.

---

**11.** AIL RAN. (ad. 1, 2, 5, 6, 9.) M. C.

*Darostyngiad a dyrchafiad Crist.*

1 AR lêd, O Dduw, dros wyneb llawr,
 Aeth d' enw mawr a'th glod;
Cyhoedded gwŷr a phlant un wedd
 Dy fawredd is y rhod.

2 Dy Fab trag'wyddol wnaethost ti,—
Mewn parch a bri boed ef!—
Yn îs nâ'i engyl glân ei hun,
I godi dyn i'r nef.

3 Ac wedi godde'r groes yn fwyn,
A dwyn ein cosp i gyd,
Yn goron lân rhoist arno'n llon
Ogoniant nefol fyd.

4 Ar waith dy ddwylaw yn y nef
Y gwnaethost ef yn ben;
Gosodaist bob peth dan ei dra'd,
Ym mhob rhyw wlad îs nen.

5 Ar lêd, O Dduw, dros wyneb llawr,
Aeth d' enw mawr a'th glod;
Cyhoedded gwŷr a phlant un wedd
Dy fawredd îs y rhod.

---

**12.** PSALM 9. (ad. 1, 2, 9—11.) 8, 7.

*Duw yn noddfa yn nydd trallod.*

1 A'M calon oll dyrchafaf gân,
Dy wyrthiau glân a draethaf;
A'm llais yn llon rhof barch a bri
I'th enw di'r Goruchaf.

2 Gwna'r Arglwydd grasol hyn wrth raid,
Trueiniaid fe'u hymddiffyn;
Noddfa a fydd i'r rhai'n mewn pryd,
Pan fo caledfyd arnyn'.

3 A phawb a'th edwyn rhont eu cred,
A'u holl ymddiried arnat;
Can's ni adewaist, Arglwydd, neb,
A droes ei wyneb attat.

4 O cenwch fawl i'r cyfiawn Dduw,
Yr hwn sy'n byw yn Sïon;
I'r bobl mynegwch bawb ar g'oedd
Ei holl weithredoedd mawrion.

**13.** AIL RAN. (ad. 7, 8, 17—20.) M. C.

*Cyfiawn Farn Duw.*

1 BYTH, byth y pery'r Arglwydd Iôr,
A'i orsedd parod yw
I farnu'r byd wrth gyfiawn far,
A chospi'r anwar ryw.

2 I uffern drist y troir y rhai
Trwy fai sy'n digio'r Ne';
A phawb ollyngant Dduw dros go',
Bydd yno byth eu lle.

3 Ac nid anghofir byth mo'r tlawd,
Fe'i ceir ddydd brawd yn llon;
Nid ofer fydd y gobaith gwan
A feithrin dan ei fron.

4 O cyfod, Iôr, ac arswyd gŷr
Ar weithwyr pechod cas;
Dysg hwynt i grynu rhag dy lid,
Mewn byd lle rhoir dy ras.

**14.** PSALM 10. (ad. 12, 14, 16, 17.) 8, 7.

*Duw, cynnorthwywr ei bobl.*

1 O ARGLWYDD, cyfod, dyrcha'th law
A thyr'd o draw yn agos;
Ac nac anghofia, pan fo rhaid,
Dy weiniaid a'th werinos.

2 Cam ac anwiredd weli di,
I farnu dynion anfad;
Y tlawd ei obaith wyt, a'i borth,
A chymmorth yr amddifad.

3 Ti, Arglwydd, wyt nâ neb yn fwy,
Wyt Frenin mwy'n dragywydd;
A gwneir cyn hir holl lwythau'r llawr
I'th orsedd fawr yn ufudd.

4 Ymbiliau'r gweinion ddont i'th glust,
Dy air sy'n dyst o hynny;
Eu calon ti a'i parottôi,
Ac atteb roi i'w gweddi.

---

**15.** PSALM 11. (ad. 4—7.) 8, 7.

*Cyfiawnder Duw.*

1 YR Arglwydd o'i orseddfa fry
I lawr a dry ei olwg;
Gweithredoedd holl hiliogaeth dyn
I'w lygaid ydyn' amlwg.

2 Mae'r Arglwydd o'r naturiaeth hon,
Prawf gyfion er ymgeledd;
Ond atgas gan ei enaid yw
Dyn drwg sy'n byw mewn trawsedd.

3 Ar bechaduriaid, marwor tân
A brwmstan ddaw yn gawod;
A gwynt tymhestlog uchel iawn
Yn gyfiawn gosp am bechod.

4 Can's cyfiawn ydyw'r Arglwydd Nêr,
Cyfiawnder mae'n ei garu;
A'i wyneb ar yr uniawn sydd,
Bob dydd, i'w hymgeleddu.

---

**16.** PSALM 12. (ad. 5—7.) 8, 7.

*Gofal Duw am ei bobl.*

1 JEHOFA Iôn a ddwêd fel hyn,
Rhag llethu'r gwaelddyn codaf;
Y gŵr cystuddiol, tlawd, a'r caeth,
Mewn iechydwriaeth dodaf.

2 Pur iawn yw geiriau'r Arglwydd nef,
A'i 'ddewid ef sydd berffaith;
Fel arian goethwyd yn y tân,
Fel arian burwyd seithwaith.

3 O'th fawr drugaredd, Arglwydd, ti
A'u cedwi mewn tangnefedd;
A rhoi, rhag drygau maith y byd,
I'th blant i gyd ymgeledd.

---

**17.** PSALM 13. (ad. 1, 3, 5.) M. C.

*Ceisio goleuni mewn tywyllwch.*

1 PA hyd, O Dduw, 'n anghofi ni,
A pheidi wrando'n llef?
Dy siriol, hyfryd wyneb-pryd,
Pa hyd y cuddi ef?

2 O Dduw, erglŷw, ac edrych lawr,
Rho 'nawr in' wel'd dy wedd;
Ein llygaid agor, rhag eu cau
Yn angau du a'r bedd.

3 Dysg ni ymddiried yn dy rad,
Ein nefol Dad, bob awr;
I 'mlawenhâu'n dy iechyd di,
A moli'th enw mawr.

---

**18.** PSALM 14. (ad. 2, 3, 7.) M. H.

*Nid oes a wnel ddaioni, nac oes un.*

1 I LAWR o'r nef edrychodd Iôn,
Ar feibion dynion yn y byd,
I wel'd ymgeisiai neb â Duw,
Gan ddechreu byw yn gall ryw bryd.

2 Fe giliodd pawb at lygredd byd,
Ymdroent i gyd mewn brynti mawr;
Nid oes a wnel yn well nâ hyn,
Nac un a fyn ddaioni'n awr.

3 O pwy all roi in' bawb o'r bron
O Sïon uchel iechyd llawn!
'Does neb ond Duw, a hyn pan wnel,
Y rhai a'i gwel fydd hyfryd iawn.

---

**19.** PSALM 15. (ad. 1, 2, 4, 5.) 8, 7.

*Y dyn a breswylia yn y nef.*

1 DYWAID i mi, pa ddyn a drig
I'th lŷs, barchedig Arglwydd?
A phwy a erys ac a fydd
Ym mynydd dy sancteiddrwydd?

2 Yr hwn a rodia'n berffaith dda,
Yr hwn a wna gyfiawnder;
A'r hwn o'i galon draetha'r gwir,
A drig ar dir uchelder.

3 Yr hwn sydd isel yn ei fryd,
Yn caru'i gyd-grist'nogion;
Yr hwn sy'n caru'r Arglwydd Dduw,
Ac sydd yn byw yn ffyddlon:

4 'R hwn wedi'r cwbl ei bwys a rydd
Ar ras yr Arglwydd tirion;—
A wnelo hyn, ni lithra fyth,
Fe gaiff y ddilyth goron.

---

**20.** PSALM 16. (ad. 1, 2, 4—7. 8, 7.

*Yr Arglwydd yw rhan fy etifeddiaeth.*

1 DUW, cadw ni rhag drwg a gwae,
Can's ynot mae'n hymddiried;
Er nad yw'n dâ ddim oll i ti,
Moes ini dy ymwared.

2 I'r rhai a redant at dduw gau,
Y daw gofidiau lawer;
Ond Duw, i'r dyn ei air a wna,
Sy'n gyfran dda bob amser.

3 I ni, trwy ras, y syrthiodd rhan
O fewn y fan hyfrydaf;
Digwyddodd ini, er ein maeth,
Yr etifeddiaeth lanaf.

4 Bendithiwn ninnau Dduw ein Iôr,
Rydd in' y cyngor gorau;
Ei air a'i yspryd enfyn in',
I'n tywys yn ei lwybrau.

---

**21.** AIL RAN. (ad. 8—11.) M. H.

*Gobaith y Cristion mewn bywyd ac angau.*

1 DY osod boed in' ger ein bron,
A'n hyder ynot, Iôr, yn llon;
Can's gwir yw na'n hysgogir ni,
Os agos attom fyddi di.

2 Tra gallom ddweyd dy fod ger llaw,
Fe ffy mewn brys bob ofn a braw;
Ein calon lawn a lawenhâ,
A'n cnawd a drig mewn gobaith da.

3 Ni edi'th saint yn wael eu gwedd,
I orphwys byth y'mhyrth y bedd;
Rhoi llwybyr bywyd wnei o'u bla'n,
Ar fore cu'r cyfodiad glân.

4 Dwg ni ar frys, O Dduw, i fyw
Lle mae llawenydd o bob rhyw;
Ar dy ddeheulaw'n uchel fry
Digrifwch yn drag'wyddol sy.

---

**22.** PSALM 17. (ad. 5—8.) 8au.

*Erfyn nodded Duw.*

1 ARGLWYDD cynnal fy ngherddediad
Yn dy lwybrau glân yn wastad;
Fel na lithro'm traed un amser
Ac na phallo byth mo'm hyder.

2 Arnat ti y galwaf etto,
Can's un parod wyt i wrando;
Gostwng attaf, Iôr, dy glustiau,
Ac erglŷw fy nhaer ymbiliau.

3 Dangos imi'th ras rhyfeddol,
O Achubydd cyfamserol
Pawb sydd ynot yn ymddiried,
Rhag gelynion drwg eu henaid!

4 Cadw fi fel canwyll llygad,
Rhag holl frad y gelyn anfad;
A than gysgod dy adenydd,
Fel na'm dryger, cudd fi beunydd.

---

**23.** PSALM 18. (ad. 1—3.) M. H.

*Gallu a gras Duw.*

1 DY garu wnaf, O Arglwydd Dduw,
Can's ti fy holl gadernid yw;
Fy nghadarn Graig i'm dal i'r lan,
Ac Amddiffynfa f' enaid gwan.

2 Fy Nuw, fy Nerth, a'm Ceidwad cu,
F' ymddiried ynddo'n unig sy;
Fy Nharian dda, a'm Tŵr yw ef,
A Chorn fy iechydwriaeth gref.

3 Fy ngweddi dos at Dduw dilŷth,
Sy'n haeddu pob canmoliaeth byth;
Fel hyn, rhag pob rhyw elyn cas,
Fe gedwir f' enaid gan ei ras.

---

**24.** AIL RAN. (ad. 30, 31, 46, 49.) 7au.

*Ymlawenhâu yn Nuw.*

1 PERFFAITH yn ei ffordd yw Duw,
Gair ei ras mor sanctaidd yw!
Ac y mae yn darian gref
I'r rhai gredant ynddo ef.

2 Pwy sy Dduw, o dan y sêr?
Pwy, uwchlaw, heblaw ein Nêr?
Pwy sydd graig i'r enaid gwan,
Ond ein Duw, yng Nghrist yn rhan?

3 Craig yr oesoedd, cadarn yw,
Byth heb ddiwedd pery'n fyw;
Iechydwriaeth ganddo sydd
I bob un o berchen ffydd.

4 Mwy bendithier Duw trwy'r byd,
A dyrchafer ef o hyd;
Unwn ninnau yn y gân,
Canwn oll i'w enw glân.

---

**25.** PSALM 19. (ad. 1—6.) 8, 7.

*Y nefoedd sy'n datgan gogoniant Duw.*

1 Y NEF sy'n datgan mawredd Duw,
Yr unrhyw gwna'r ffurffafen;
Y dydd i ddydd, a'r nos i nos,
Sy'n dangos cwrs yr wybren.

2 Er nad oes ganddynt air nac iaith,
I draethu gwaith eu Llywydd,
Dïau nad oes na môr na thir,
Na chlywir eu lleferydd.

3 Eu sain a aeth trwy'r byd i gyd,
A'u geiriau hyd eithafoedd;
Cyhoeddi maent, "Ein Crëydd yw
Jehofa Dduw y lluoedd."

4 Yr haul a gwyd i seinio'i glod,
Fel prïod o'i orweddfa;
Ymlawenhâ'n ei waith yn fawr,
Fel cawr yn rhedeg gyrfa.

5 O eitha'r nef y daw i ma'ε,
Bob bore glas yn heini;
I holl drigolion byd rhydd wres,
Er mawrlles, a goleuni.

**26.** AIL RAN. (ad. 7—11.) 7au.

*Y Gair yn well nag aur coeth.*

1 DEDDF Jehofa, perffaith yw,
Try i'r iawn yr enaid byw;
Ei dystiolaeth ef sy dda,
Ac yn ddoeth y gwirion gwna.

2 Deddfau'r Iôn, rhai union ŷn',
Llawenhant brudd galon dyn;
Pob gorchymyn sydd yn bur,
Rhydd i'r llygaid oleu gwir.

3 Glân yw ofn y Duw dilŷth,
Ac a bery felly byth;
Gwir yw ei holl farnau drud,
Cyfiawn hefyd ŷnt i gyd.

4 Mwy dymunol ŷnt nag aur,
Gwell nâ choeth-aur yw ei air;
A melusach yw heb gêl
Na diferiad diliau mêl.

5 Ynddo fe'n rhybuddir oll
Rhag y ffordd a'n dwg ar goll;
Ynddo hefyd darllen ffydd,—
"Gwobrwy fawr o'i gadw fydd."

**27.** RHAN 3. (ad. 12—14.) 8, 7.

*Aml gamweddau dyn.*

1 PWY a ddeall ei gamweddau?
Pwy fynega rhai'n i gyd?
Myrdd o honynt sydd guddiedig,
Heblaw'r miloedd wêl y byd;

Duw, glanhâ fi'n llwyr oddiwrthynt,
Adnewydda fi â'th ras;
A rho rym i fwrw ymaith
Bob rhyfygus bechod cas.

2 Pob ymadrodd ddêl o'm genau,
Pob myfyrdod dan fy mron,
Fyddo mwy yn gymmeradwy,
Arglwydd grasol, ger dy fron:
Ti yw Craig fy iechydwriaeth,
Dal fi fynu tra fwy' byw;
Ti yw Prynwr drud fy enaid,
Dwg fi'r nefoedd, O fy Nuw.

---

## 28. PSALM 20. (ad. 1—5.) M. B.

*Enw Duw Jacob a'th ddiffynno.*

1 YM mhob cyfyngder du,
Iôr, gwrando fry fy llef;
A'th enw mawr—Duw Jacob yw,
A'm cadwo'n fyw i'r nef.

2 O'th lŷs cyssegrlan llon,
O anfon gymmorth im';
I nerthu'm henaid dan ei groes,
O Sïon moes im' rym.

3 Mewn côf, fel aberth pêr,
Y byddo, Nêr, fy mawl;
A'm gweddi doed, fel offrwm glân,
O'th fla'n i dir y gwawl.

4 Dymuniad f' enaid yw
Cael iechyd Duw i'm rhan,
O estyn imi hyn o'r nen,
A dal fy mhen i'r lan.

5 Gorfoledd f' enaid drud
  Fo yn dy iechyd byth;
A'm gweddi,—" Pob dymuniad da
  Cyflawna, Iôr dilŷth."

**29.** AIL RAN. (ad. 7—9.) M. H.

*Duw, rhoddwr buddugoliaeth.*

1 TRA mae teyrnasoedd dig y byd
  I ryfel brwd yn brysio 'nghyd,
Y Duw deyrnasa yn y nen
Ei ddiben da a ddwg i ben.

2 Mewn cyflym feirch ymddiried rhai,
Ac eraill mewn cerbydau chwai;
Ond yn dy enw, Arglwydd Iôr,
Mae'n gobaith ni ar dir a môr.

3 Y Duw goruwch y duwiau sydd,
Ein tarian fu'r peryglus ddydd;
Duw mawr y rhyfel drosom rhodd
Ei faner mewn buddugol fodd,

4 Duw mawr y rhyfel wyt, ein Rhi,
Ti'r fuddugoliaeth roist i ni;
I ti y canwn glodydd glân,
Gan adde'th law mewn llafar gân.

5 O Arglwydd Dduw, i'r hwn bob dydd
Y nef a'r dda'r yn ufudd sydd;
Ein mawl a'n gweddi derbyn di,
A rho'th ymgeledd byth i ni.

**30.** PSALM 22. (ad. 27, 28, 30, 31.) 8, 7.

*Yr Arglwydd biau'r deyrnas.*

1 FE gofia holl derfynau'r byd,
  At Grist ynghŷd hwy droant;
Ac aml dylwythau'r ddaear gron,
  Oll ger ei fron addolant.

**33.** PSALM 24. (ad. 1—6.) 7au.

*Pwy a esgyn i fynydd yr Arglwydd?*

1 DDAEAR a'i chyflawnder yw
Eiddo'r gwir Jehofa Dduw,
A thrigolion amal hon,
Ef a'u pïau oll o'r bron.

2 Obry yn y moroedd mawr
Rhoes ei chadarn sail i lawr;
Uwch llifeiriaint mwya'u llid
Adeiladodd ben y byd.

3 Pwy a driga'n uchel fry
Gyda'r Arglwydd yn ei dŷ?
Pwy, o fewn ei sanctaidd le,
Saif ger bron gorseddfaingc Ne'?

4 Dyma'r dyn,—Ei law sydd lân,
Calon fedd fel aur o'r tân;
Isel yw, ac hawdd ei drin,
Ac ni thyng i dwyllo un.

5 Rhoddion fil roir iddo ef,
Trugareddau goreu'r nef;
A'i gyfiawnder glân ei hun
Y bendithia Duw y dyn.

6 Dyma genedl Israel Duw
Gânt ar fynydd Sïon fyw;
O Dduw Jacob, felly bydd
Pawb yn gwir droi attat sydd.

---

**34.** ARALL. M. C.

1 YR Arglwydd bïau'r ddaear gron,
A phob creadur byw;
Ar fôr a llif y seiliodd hon
Yn drigfan dynol ryw.

2 Mae gwlad sydd well er hynny fry,
A gwynfyd mwy ei fraint;
Duw, pwy a driga yn dy dŷ?
Pwy esgyn at dy saint?

3 Y gŵr sydd bur ei galon yw,
A'i law yn lân o hyd;
Ni thyng i dwyllo neb o'i ryw,
Sy'n fwyn, o isel fryd.

4 Ar hwn dihidlir bendith lawr
Gan Frenin da'r a nef;
Cyfiawnder gaiff gan Awdwr mawr
Ei iachawdwriaeth gref.

5 Wel dyma'r genedl rasol sydd
Yn ceisio Duw a'i hedd,
A gweled gânt i gyd ryw ddydd
Ei siriol nefol wedd.

---

**35.** AIL RAN. (ad. 7—10.) M. C.

*Brenin y gogoniant.*

1 DYRCHEFWCH oll eich pennau'n awr
Chwi oesol ddrysau'r nef,
Can's Brenin y gogoniant mawr
Sy'n dod yn ol i dref.

2 Brenin gogoniant! pwy yw Ef?
Efe yw'r Arglwydd Dduw;
Ei fraich sydd nerthol, gadarn, gref,
Mewn rhyfel cadarn yw.

3 Dyrchefwch oll eich pennau'n awr,
Chwi oesol ddrysau'r nef,
Can's Brenin y gogoniant mawr
Sy'n dod yn ol i dref.

4 Brenin gogoniant! pwy yw Ef?
Jehofa'r lluoedd yw;
Mae'n haeddu holl ogoniant nef,
Am gadw dynol ryw.

---

**36.** ARALL. 11au.

1.

O'R bedd y cyfododd ein Harglwydd a'n Duw,
Esgynodd i'r nefoedd, ac yno mae'n byw;
Galluoedd y t'wyllwch a lusgodd efe
Yn gaeth hyd at ddrysau disgleirwych y ne'.

2.

Fry, fry y côr-gana angylion yn llon,—
Dyrchefwch eich pennau byrth oesol o'r bron;
A chwi ymddyrchefwch holl ddrysau y nef,
Mawr Frenin gogoniant, croesäwch chwi ef.

3.

Mawr Frenin gogoniant! O d'wedwch pwy yw?
Y Nerthol, y Cadarn, yr Arglwydd ein Duw;
Yr Arglwydd sydd gadarn mewn rhyfel o hyd
Gorchfygwr holl uffern, ac angau, a'r byd.

4.

Fry, fry y côr-gana angylion yn llon,—
Dyrchefwch eich pennau byrth oesol o'r bron;
A chwi ymddyrchefwch holl ddrysau y nef,
Mawr Frenin gogoniant, croesäwch chwi ef.

5.

Mawr Frenin gogoniant! O d'wedwch pwy yw?
Crewr nefoedd a'u lluoedd er amled eu rhyw;
Iachawdwr plant dynion, a'u Prynwr dilŷth,
Mae'n haeddu'r gogoniant a'r deyrnas dros fyth.

## 37. ARALL. 7au.

HANNER-CÔR.

NEFOL byrth, dyrchefwch chwi
Oll eich pennau'n uchel fry;
Ymddyrchefwch chwithau i gyd,
Oesol ddrysau'r bythol fyd;
A groesäwch adre'n awr
Frenin y gogoniant mawr.

UN LLAIS.

Pwy yw'r Brenin mawr ei fri
Am yr hwn y cenwch chwi?

LLAIS ARALL.

'R Arglwydd Iôr, y nerthol Dduw,
Cadarn iawn mewn rhyfel yw.

HANNER-CÔR.

Nefol byrth, dyrchefwch chwi
Oll eich pennau'n uchel fry;
Ymddyrchefwch chwithau i gyd,
Oesol ddrysau'r bythol fyd,
A groesäwch adre'n awr
Frenin y gogoniant mawr.

UN LLAIS.

Pwy yw'r Brenin mawr ei fri
Am yr hwn y cenwch chwi?

LLAWN-GÔR.

Duw y lluoedd yw ein cân,
Brenin y gogoniant glân.

---

## 38. PSALM 25. (ad. 1—5.) 8, 7.

*Erfyn cymmorth ac addysg gan Dduw.*

1 I FYNU attat, Arglwydd da,
Fy enaid a ddyrchafaf;
Na'm gwaradwydder gan fy nghas,
Can's yn dy ras gobeithiaf.

2 Na waradwydder neb ag sydd
Yn disgwyl, Arglwydd, wrthyt;
Y sawl heb achos wnant ar fai
Fo'r rhai w'radwydder gennyt.

3 Gwybodaeth im' o'th ffyrdd rho di,
A phâr i mi eu deall;
Dysg fi, a thywys hyd y bedd
Yn dy wirionedd diball.

4 Can's ti yn unig, Arglwydd, yw
Mawr Dduw fy iechydwriaeth;
Disgwyliaf wrthyt 'rhyd y dydd,
Mewn ffydd, am fendith helaeth.

---

**30.** AIL RAN. (ad. 6—11.) 8au.

*Ymddiried yn nhrugareddau Duw.*

1 ARGLWYDD, cofia'th dosturiaethau,
A'th drag'wyddol drugareddau;
Ond na chofia'm beiau enbyd,
Na phechodau mawr fy ie'ngctid.

2 Meddwl, Arglwydd Dduw, am danaf,
'Nol dy rad drugaredd bennaf;
Ac er mwyn dy fawr ddaioni,
Arwain fi i wlad goleuni.

3 Da ac uniawn ydyw'r Iesu,
Ac fe wna o herwydd hynny
Ddysgu euog feibion dynion
Yn y ffordd sy dda ac union.

4 Mewn barn uniawn fe hyfforddа
Holl blant llariaidd Duw Jehofa;
Ac i'r isel, mwyn ei yspryd,
Dysg y ffordd i diroedd gwynfyd.

5 'Dyw holl lwybrau Duw'r tangnefedd
Ond trugaredd a gwirionedd,
I'r rhai gadwant ei gyfammod,
A'i holl dystiolaethau hyglod.

6 Arglwydd mawr, er mwyn dy enw,
Maddeu'm bai, can's mawr yw hwnnw;
Yna rhof it' glod a moliant
Yma ac y'ngwlad gogoniant.

---

**40.** RHAN 3. (ad. 12—14.) M. H.

*Daioni Duw i'r rhai a'i hofnant ef.*

1 Y'MHLITH holl luoedd dynol ryw,
Pa le mae'r dyn sy'n ofni Duw?
Ei Dduw a ddengys iddo ef
Yr union ffordd i deyrnas nef.

2 Ei enaid drud, medd Iôn dilŷth,
A erys mewn daioni byth;
A'i had, o oes i oes yn wir,
Gaiff etifeddiaeth yn y tir.

3 Dirgelwch Iôr sydd gyda'r rhai
A'i hofnant ef, gan adael bai;
A'i hen gyfammod grasol sydd
I'w cyfarwyddo yn y ffydd.

---

**41.** RHAN 4. (ad. 15, 16, 20, 21.) M. B.

*Ceisio cymmorth mewn trallod.*

1 FY llygaid arnat sydd,
O Arglwydd Dduw, bob dydd,
O tyn fy nhraed ar frys heb ball,
O rwyd y fall yn rhydd.

2 Tro attaf, er fy mhla,
Ac wrthyf trugarhâ;
Can's tlawd ac unig iawn wyf fi,
'Does neb ond ti'm rhyddhâ.

3 Fy achub gwna, O Dduw,
Fy enaid cadw'n fyw ;
Na'm gwaradwydder gan fy nghas,
Dy ras fy ngobaith yw.

4 Uniondeb fo i'm rhan,
I'm cadw ym mhob man ;
Can's wrthyt mwy, O Dduw fy mhlaid,
Y disgwyl f' enaid gwan.

---

**42.** PSALM 26. (ad. 5, 8, 9, 11, 12.) 7au.

*Hoffais drigfan dy dŷ.*

1 YNG nghyn'lleidfa rhai di-ras
Ni chaiff f' enaid ddim i'w flas,
Hoff yw gennyf, Arglwydd cu,
Ddod i drigfan dêg dy dŷ ;
Lle llewyrcha trwy y llen
Dy ogoniant îs y nen.

2 O na chasgl fy enaid drud
Gyda dynion drwg y byd !
Gwared fi, fy Nuw, er dim,
A'th drugaredd estyn im' :
Yna, y'nghyn'lleidfa'th saint
Y'th foliannaf am y fraint.

---

**43.** PSALM 27. (ad. 1, 4, 5, 6.) 8, 7.

*Ymhoffi yn nhŷ Dduw.*

1 FY iechyd a'm goleuni yw
Yr Arglwydd Dduw goruchaf;
A nerth fy mywyd yw efe,
Rhag pwy'n un lle yr ofnaf?

2 Un cais a geisiais gan Dduw Naf,
A hynny geisiaf etto,
Cael dod i dŷ yr Arglwydd glân,
A bod a'm trigfan ynddo.

3 I edrych ar brydferthwch pur
Fy Nuw a'm gwir Waredydd;
Ac i ymofyn ddyddiau f' oes
Pa gyngor roes yr Arglwydd.

4 Fe'm cudd o fewn ei babell lon
Yn nyddiau blinion drygfyd;
Na'm dryger byth gan lid y ddraig,
Ar oesol graig fe'm cyfyd.

5 Fy mhen fel hyn a ddyrcha'r Iôn
Uwchlaw 'ngelynion drygwedd;
Am hyn o fewn ei babell lân
Y seiniaf gân gorfoledd.

---

**44.** AIL RAN. (ad. 7—9.) M. B.

*Ceisio'r Arglwydd.*

1 O ARGLWYDD, clyw fy nghais,
Pan ddelo'm llais i'r lan;
Ac imi dy drugaredd rho,
Gan wrando gweddi'r gwan.

2 Fy wyneb ceisiwch chwi,
Pan dd'wedi di, mor dda:
Dy wyneb geisiaf mwy'n ddi-baid,
Medd f' enaid er fy mhla.

3 Na chuddia d' wyneb cu
Oddiwrthyf fi, fy Nuw;
Ac ymaith yn dy lid na wna
Fy mwrw, tra fwy' byw.

4 Yn gymmorth buost im',
Rho etto'th rym a'th hedd;
O Dduw fy iechydwriaeth ddrud,
Na âd fi hyd y bedd.

**45.** RHAN 3. (ad. 11—14.) M. C.

*Gweddi a gobaith am ras a nerth.*

1 DYSG imi'th ffordd, O Arglwydd mwyn
Ac arwain fi ar hyd
Y llwybrau union sydd i'm dwyn
I'r dedwydd nefol fyd.

2 I 'wyllys fy ngelynion cas
Na ro fi fynu byth;
Ond achub fi, er mwyn dy ras,
O'u dwylaw, Iôr dilŷth.

3 Un nerth fy enaid gwan ni fedd,
A llwyr anniddan yw,
Pan nas gall gredu profi'th hedd,
A'th ras, yn nhir y byw.

4 Fy enaid disgwyl wrth dy Dduw,
Bydd wrol ynddo ef;
O disgwyl wrtho tra f'ot byw,
Gwna'th galon wan yn gref.

---

**46.** PSALM 28. (ad. 1, 2, 8, 9.) 8, 7.

*Duw yw nerth ei bobl.*

1 O DDUW fy Nghraig, erglŷw fy nghri,
Ac ar fy ngweddi gwrando;
Rhag imi fod fel rhai ag sy
I uffern obry'n syrthio.

2 Ar lef fy ymbil gwrando fry,
Pan arnat ti y gwaeddwyf;
A thua'th gafell glân i'r lan
Fy nwylaw pan ddyrchafwyf.

3 Yr Arglwydd sydd yn nerth di-drai
I'r rhai rydd arno'u goglud;
Iachawdwr cadarn yw i'r gwan
Enneiniwyd gan ei Yspryd.

4 Byth cadw'th bobl dy hun yn dda,
Bendithia'th etifeddiaeth;
Eu porthi gwna, a'u dwyn i gyd
I'r gwynfyd nefol odiaeth.

---

**47.** PSALM 29. 8au.

*Llef Duw yn y taranau.*

1 MOESWCH, gedyrn, yn ddilysiant,
Nerth i'r Arglwydd, a gogoniant;
Ym mhrydferthwch ei sancteiddrwydd,
Cyd-adolwch oll yr Arglwydd.

2 Ar y dyfroedd fry marchoga,
Duw'r gogoniant a darana;
Prydferth yw ei lef a grymmus,
Dryllia gedrwydd mawr Libanus:

3 Pâr i hwn, a Sirion lammu,
Ac i anial Cades grynu;
Fflammau tân ei lef wasgara,
A'r anialwch a ddychryna.

4 Llef yr Arglwydd rwyga'r deri,
Coedydd cryfion mae'n dinoethi;
Yn ei demel pawb a draethant
Nerth ei fraich a'i fawr ogoniant.

5 Ar lifeiriaint saif yn Llywydd,
Brenin ydyw yn dragywydd;
Nerth, yn gymmorth cyfamserol,
A thangnefedd rydd i'w bobol.

---

**48.** PSALM 30. (ad. 4, 5.) M. H.

*Galwad i foli Duw.*

1 I'R Arglwydd cenwch beraidd glod,
Ei seintiau cu, tra'r byd yn bod;
Wrth goffa ei sancteiddrwydd glân,
Clodforwch ef â llafar gân.

2 Dros ennyd fach ei lid a fydd,
Yn ei foddlonrwydd bywyd sydd;
Os pâr wylofain dros brydnhâwn,
Y bore bydd gorfoledd llawn.

---

### 49. PSALM 31. (ad. 1—3, 5.) M. C.

*Ymddiried yn Nuw am noddfa.*

1 NA foed im' warth na g'wradwydd chwaith,
Fy ngobaith wyt, fy Nuw;
Yn dy gyfiawnder gwared fi,
A'm cri o'r nefoedd clyw.

2 Tro attaf, Iôr, dy glust ar frys,
O'th nefol lŷs i lawr;
Bydd imi'n gadarn graig yn siwr,
A thŵr i'm cadw'n awr.

3 Fy nghastell cryf o hyd, a'm craig,
Rhag llid y ddraig wyt ti;
Er mwyn dy enw mawr dilŷs,
Tra fyddwyf tywys fi.

4 Fy yspryd ddodaf yn dy law,
Na fo im' fraw na chûr;
Ti'm prynaist i, fel byddwn byw,
O Dduw'r gwirionedd pur.

---

### 50. AIL RAN. (ad. 19, 20, 23, 24.) M. H.

*Daioni Duw i'w bobl.*

1 MOR fawr yw'r gwynfyd gedwi fry,
O Dduw, i'r sawl yn d' ofni sy!
Mor dda wyt ti i bawb trwy'r byd
A geisiant nawdd dy aden glyd!

2 Eu dirgel guddio wnai o'th ras,
Rhag beilchion byd, cynhennus cas;
Fel mewn rhyw freiniol babell fawr
Y cuddi hwynt bob munud awr.

3 Chwi seintiau cu, ar dir a môr,
O cerwch oll yr Arglwydd Iôr;
Ei ffyddlon bobl eu cadw mae,
Tra daw ei lid ar anwar rai.

4 Cymmerwch mwy galondid da,
A'ch calon ofnus fe'i cryfhâ;
Chwychwi'n gobeithio ynddo sydd
Am nawdd a nerth yn ol eich dydd.

---

**51.** PSALM 32. (ad. 1, 2, 5, 7.) 8, 7.

*Maddeuant pechod.*

1 GWYN fyd y neb maddeuant ga's,
Trwy ddwyfol ras, o'i drosedd;
Y dyn y cuddiwyd ei holl fai,
Ei bechod a'i anwiredd.

2 Gwyn fyd y dyn ni chyfrif Duw
Ei amryw feiau iddo;
A'r hwn newidiwyd oll er gwell,
Fel nad oes dichell ynddo.

3 Cyfadde'r ŷm o'th flaen yn awr,
O Dduw, ein mawr gamweddau;
Tosturia wrthym, nefol Dad,
A maddeu'n rhad ein beiau.

4 Yn lloches gadarn iawn bydd in',
Rhag ing yn Geidwad graslon;
Ac amgylchyna ni yn lân,
A chân ymwared gysson.

## 52. PSALM 33. (ad. 3—9, 11, 12.) 8au.

*Cân o fawl i Dduw.*

1 CENWCH, seintiau, ganiad newydd,
Cân o lafar fawl i'r Arglwydd;
Canys mae ei air yn union,
A'i weithredoedd wnaed yn ffyddlon.

2 Cyfiawn farn a gâr yn rhyfedd,
Llawn yw'r ddaear o'i drugaredd;
Trwy ei air y gwnaed y nefoedd,
Trwy ei Yspryd eu holl luoedd.

3 Casgl fel pentwr ddeifr y moroedd,
Mewn ystordai rho'r dyfnderoedd;
Gwnaeth y byd â gair ei enau,
Cryned dynion wrth ei eiriau.

4 Byth y saif ei gyngor ffyddlon,
A meddyliau glân ei galon
O genhedlaeth i genhedlaeth,
Heb un cysgod troedigaeth.

5 Gwyn ei byd y genedl freiniol,
Iddi'n Dduw mae'r Arglwydd grasol;
A'r holl bobl ddetholwyd ganddo
'N etifeddiaeth hyfryd iddo.

---

## 53. AIL RAN. (ad. 13, 14, 18, 20, 22.) 8, 7.

*Hollwybodaeth a Rhagluniaeth Duw.*

1 O'R nefoedd fry yr edrych Duw
Ar lwybrau pob rhyw ddynion;
Ac o'i breswylfa edrych ar
Y ddaear a'i thrigolion.

2 Yr hwn a luniodd galon dyn,
A edwyn ei weithredoedd;
Pob peth a wneir, o hyd fe'i gwêl,
Y dirgel fel y cyhoedd.

3 Y rhai obeithiant yn ei râd,
Ei lygad llon sydd arnynt;
A'r sawl a ofnant Arglwydd nef,
Ei aden gref rhydd drostynt;

4 I gadw'u henaid cu, o'i ras,
Rhag angau glas a'i golyn;
I borthi'n glau y tlawd a'r gwan,
Rhag eisiau pan fo newyn.

5 O Dduw, ein porth a'n tarian ni,
Gwêl, wrthyt ti disgwyliwn;
Boed arnom dy drugaredd gu,
Fel ynot ti gobeithiwn.

---

## 54. PSALM 34. (ad. 1—5.) 8, 7.

*Moli Duw am ei ddaioni.*

1 DIOLCHAF fi â chalon rwydd
I'r Arglwydd bob amserau;
Ei foliant fydd, a'i wir fawrhâd,
Yn wastad yn fy ngenau.

2 Gorfoledd dwys fy enaid drud,
Fydd yn ei iechyd beunydd;
Nes clywo'r sawl sy'n isel iawn,
A chyflawn fo'u llawenydd.

3 Yr Arglwydd molwch gyda mi,
Cyd-folwn ni ei enw;
Can's ceisiais ef mewn ofnau caeth,
A'm gwrando wnaeth yn galw.

4 Y sawl a edrych arno ef,
A llewyrch nef oleuir;
O honynt ni w'radwyddir neb,
A'u hwyneb ni ch'wilyddir.

**55.** ARALL. M. C.

1 BENDITHIO wnaf yr Arglwydd Nêr
Bob amser tra fwy' byw;
Bydd yn fy ngenau'n wastad gân
O glodydd glân i Dduw.

2 Am ei ymwared canu wnaf,
Ni thawaf sôn am hon,
Nes gwneler pawb o isel fryd
Yn hyfryd iawn a llon.

3 O dewch, mawrygwn Dduw i gyd,
A chyd-ddyrchafwn ef;
Pan geisiais i ei wyneb cu,
Gwrandawodd fry fy llef.

4 I'r sawl yn edrych arno sydd,
Goleuni rhydd wrth raid;
A'u hwyneb ni ch'wilyddir byth,
Mae Duw dilŷth o'u plaid.

---

**56.** AIL RAN. (ad. 6—9.) 8, 7.

*Daioni Duw i'r credadyn.*

1 Y TRUAN hwn a roes ei lef,
A Duw o'r nef yn gwrando;
Gwaredodd ef o'i drallod drwg,
A'i ing oedd amlwg iddo.

2 Glân angel Duw a dry yn gylch
O amgylch pawb a'i hofnant;
Fel castell cryf fe'u ceidw i gyd,
Yn iach bob pryd y byddant.

3 O profwch, gwelwch ddäed yw
Yr Arglwydd byw i'w eiddo;
A gwyn ei fyd pob dyn a gred,
Ac a ymddiried ynddo.

4 Ei ofni gwnewch, chwi seintiau glân;
A bydd iwch' gyfran ddedwydd;
Can's nid oes eisiau dim sy dda
Ar neb was'naetha'r Arglwydd.

---

**57.** ARALL. M. C.

1 AR lais y tlawd gwrandawodd Duw,
Can's rhyfedd yw ei ras;
A dygodd ef o'i ofnau prudd,
A'i holl gystuddiau ma's.

2 Glân angel Duw a dry yn gylch
O amgylch pawb o'i blant;
Fel castell cadarn iddynt mae,
A gŷr eu hofnau bant.

3 O profwch, gwelwch ddäed yw
Yr Arglwydd byw i'w saint;
Gwyn fyd y gwr gred ynddo 'nawr,
'Does neb mor fawr ei fraint.

4 Mwy ofnwch Dduw, chwi seintiau mwyn,
A gwrendy'ch cwyn o'r nef;
Ac nid oes eisiau dim sy dda
Ar neb a'i hofna ef.

---

**58.** RHAN 3. ad. 15—17. M. H.

*Duw a wrendy ar y cyfiawn.*

1 YN erbyn pawb mae wyneb Duw
Mewn bai sy'n byw o hyd yn awr;
Oddiar y dda'r eu coffa tŷr,
Ar fyr fe'u gŷr i'r poenau mawr.

2 Agored yw ei glustiau ef
I wrando llef ei bobl trwy'r byd;
A'i lygaid ar y cyfiawn sydd,
Bob awr o'r dydd, i'w cadw i gyd.

3 Yn glau y clyw ein Nâf o'r nef
Leferydd llef y cyfiawn cu;
O'u trallod drwg fe'u myn i ma's,
O'i ryfedd ras, i'r gwynfyd fry.

**59.** RHAN 4. (ad. 18, 19, 22.) 8, 7.

*Diogelwch y cyfiawn.*

1 YR Arglwydd agos yw at gûr
Y galon bur ddrylliedig;
A da y ceidw ef bob pryd
Yr yspryd cystuddiedig.

2 Cystuddiau trwm ac amal iawn
A gaiff y cyfiawn weithiau;
Ond Duw, o honynt oll, o'i ras,
A'i myn e'i ma's yn ddïau.

3 Ië, holl was'naethwyr ffyddlon Duw,
Eu Harglwydd byw a'u gwared;
I'r sawl a gred yn Nêr dilŷth
Ni ddigwydd byth mo'r niwed.

**60.** PSALM 35. (ad. 27, 28.) 8, 7.

*Moli Duw am ddyrchafiad ei Fab.*

1 CYFODODD Crist, esgynodd fry,
A'i achos sy yn llwyddo;
Am hyn cyd-ganed pawb o'i blant,
A llawenychant ynddo.

2 Dywedant, canant oll yn bêr,
Mawryger Duw Jehofa;
Yr hwn sy'n hoffi llwyddiant hir
Ei was, y gwir Fessia.

3 Fy nhafod innau, Arglwydd cu,
A draetha dy gyfiawnder,
A'th foliant glân ar hyd y dydd,
Mewn newydd gân felusber.

## 61. PSALM 36. (ad. 5—7.) M. C.

*Priodoliaethau Duw.*

1 MAE'th fawr drugaredd, Arglwydd da
Hyd eitha'r nefoedd wen;
A'th bur wirionedd cyrraedd mae
Hyd bell gymmylau'r nen.

2 D' uniondeb sydd fel mynydd mawr,
Dy farn fel llawr y môr;
Dyn ac anifail gedwi di
Heb ballu byth, ein Iôr.

3 Mor werthfawr yw'th drugaredd wiw,
I'th bobl, O Dduw, trwy'r byd!
Am hyn y câr plant dynion fod
Dan gysgod d' edyn clyd.

---

## 62. ARALL. 7au.

1 DY drugaredd, Arglwydd, sy
Hyd y nefoedd uchel fry;
A'th wirionedd, ffyddlon Dduw,
Cyfuwch â'r cymmylau yw.

2 Fel mynyddoedd cedyrn mae
Dy gyfiawnder yn parhau;
Rhyw ddyfnderoedd rhyfedd fawr
Yw dy farnau ini'n awr.

3 Dy ragluniaeth dda o hyd
Sydd yn cynnal cwrs y byd;
A dy ofal nos a dydd
Am yr holl gre'digaeth sydd.

4 O mor werthfawr yw i ni
Dy drugaredd dyner di!
Dan dy edyn clyd, O Dduw,
Mwy'r ymddiried dynol ryw.

**63.** AIL RAN. (ad. 8—10.) 8, 7.

*Duw yn porthi ei bobl.*

1 O FRASDER da llawn yw dy dŷ,
Lle llenwi'th saint mewn heddwch;
Dïodi di eu henaid llon
Ag afon dy hyfrydwch.

2 Can's gyda thi, O Arglwydd Nêr,
Mae ffynnon bêr y bywyd;
A gwir oleuni welwn ni
Yn dy oleuni hyfryd.

3 O estyn etto i barhau
Dy drugareddau tirion!
Ni a'th adwaenom di a'th ddawn
I'r rhai sydd uniawn galon.

---

**64.** ARALL. 7au.

1 LLAWN ddigonir plant dy ras,
Nêr, â brasder da dy dŷ;
Fel o afon hyfryd flas
Yfed gânt o'th gariad cu:
Canys gyda thi y mae
Ffynnon bywyd yn ddi drai.

2 Yn dy bur oleuni mâd
Goleu eglur welwn ni;
Dyro dy drugaredd rad
I'r rhai a'th adwaenant di;
A'th gyfiawnder glân a'th hedd
I dy bobol hyd y bedd.

---

**65.** PSALM 37. (ad. 3—6.) 8, 7.

*Y ffordd i sicrhâu ffafr Duw.*

1 YN Nuw gobeithia, f' enaid drud,
A gwna o hyd ddaioni;
Cei felly drigo yn y tir,
Ac ynddo'th wir ddigoni.

2 Gwna ymddigrifu yn dy Dduw,
A chei bob gwiw ddymuniad;
Crêd iddo'th ffordd, ac yn ddilŷs
D' ewyllys rhydd yn wastad.

3 Crêd ynddo ef, fe'th ddwg i'r lan,
Myn allan dy gyfiawnder;
Fel goleu'r haul ar hanner dydd
Cyn hir y bydd d' eglurder.

**66.** AIL RAN. (ad. 23,24,27,28.) M.C.

*Ni edy Duw ei saint.*

1 JEHOFA Iôr a ffordдia'n rhad
Gerddediad pob gwr da;
Hoff ganddo'i ffordd, i'r lan fe'i dal,
I'w gynnal fe barhâ.

2 Er iddo weithiau gwympo'n gas,
Fel un di-ras, i lawr;
I'r lan fe gwyd trwy gymmorth Duw,
Ni syrth i'r distryw mawr.

3 Gâd di y drwg, medd Duw, a gwna
Yr hyn sy dda îs nen;
A thrigo gei'n drag'wyddol fry,
Sef yn fy nhŷ uwch ben.

4 Ei saint ni edy Duw dilŷth,
Fe'u ceidw fyth yn fyw;
Ond pechaduriaid drwg y tir
A dorrir 'lawr gan Dduw.

**67.** RHAN 3. (ad. 34, 37—40.) 8, 7.

*Diwedd y duwiol a'r annuwiol.*

1 YN Nuw gobeithia, f' enaid, mwy,
A chadw'i lwybrau'n gywir;
Ac ef a'th gwyd i'r lan i'r nen,
Pan syrthio pen yr anwir.

2 Ystyria di, medd Duw, fel hyn,
Yr uniawn yn ddiduedd;
A thi gei wel'd y cyfryw ddyn,
Mai'i derfyn fydd tangnefedd.

3 Ond gwêl y rhai mewn bai sy'n byw,
Ynghŷd i ddistryw cwympant;
Annuwiol blant y byd i gyd
I ddiwedd enbyd deuant.

4 I'r cyfiawn iechyd rhydd Duw Nêr,
A nerth yn amser cyffro;
Fe'u cymmorth, ac o'r drwg fe'u tyn,
A hyn am gredu ynddo.

---

## 68. PSALM 38. (ad. 1,4,9,21,22.) 7au.

*Ceisio trugaredd a gras.*

1 NA cherydda fi'n dy lid,
Er yr haeddaf ef i gyd;
Ac na chospa fi, fy Nuw,
'Nol fy meiau du eu lliw.

2 Fy nghamweddau îs y nen,
Ant fel diluw dros fy mhen;
Maent fel baich rhy drwm i mi,
Wrthyf, Iôr, tosturia di.

3 'Nymuniadau bob yr un
Ynt o hyd o'th flaen dy hun;
Ac fe weli'r funud hon
Bob ochenaid dan fy mron.

4 Byth na âd fi, Arglwydd da,
Nac oddiwrthyf ymbellhâ;
Duw fy iechydwriaeth fawr,
I'm gwaredu brysia 'lawr.

## 69. PSALM 39. (ad. 4—8.) M.C.

*Byrdra bywyd.*

1 PAR imi wybod, Arglwydd Nêr,
Pa amser gaf îs nen;
Rifedi 'nyddiau yn y byd,
A phryd y dont i ben.

2 Fel lled fy llaw yw'm hoes i gyd,
Bèr iawn o'r cryd i'r bedd;
A gwagedd oll yw pob dyn byw,
Er gwyched yw ei wedd.

3 Llwyr ofer yw ei drafferth faith,
A dyfal waith ei law;
Fe dyrra olud fwy na mwy,
Nas gŵyr i bwy y daw.

4 Na âd im' mwyach roddi 'mryd
Ar bethau'r byd, O Dduw;
O'm holl gamweddau gwared fi,
Can's ti fy ngobaith yw.

---

## 70. AIL RAN. (ad. 11—13.) M. H.

*Breuolder bywyd.*

1 AM bechod, Dduw, pan gospech ddyn,
Yn fuan gwywa'r hardda'i lun;
Fel gwyfyn dattod wnai ei bryd,
Dïau mai gwagedd ŷm i gyd.

2 O gwrando'm gweddi, clyw fy llef,
A gwêl fy nagrau hallt o'r nef;
Ymdeithydd ydwyf gyda thi,
Ac alltud fel fy nhadau cu.

3 O paid â mi, gâd im' gryfhâu
Cyn darfod dyddiau 'mywyd brau;
A rho i mi, sy 'mron fy medd,
Drugaredd, Arglwydd, gras a hedd.

## 71. PSALM 40. (ad. 1—4.) 8au.

*Pechadur yn moli Duw am ei droedigaeth.*

1 DYFAL ddisgwyl wnaeth fy enaid
Wrth yr Arglwydd Dduw bendigaid;
Ymostyngodd o'r uchelder,
Clybu'm llefain, 'nol ei arfer.

2 Cododd fi o bydew pechod,
Oedd yn frwnt ac erchyll hynod;
Rhoes fy nhraed ar graig ei gariad,
Ac fe hwyliodd fy ngherddediad.

3 Rhoes i'm genau ganiad newydd,
Cân o glod i Dduw'm Gwaredydd;
Llawer welant hyn, ac ofnant,
A'u hymddiried ynddo roddant.

4 Gwyn ei fyd y sawl osodo
'R Arglwydd Dduw'n ymddiried iddo;
Ac ni thry, pan fo'n helbulus,
Byth am borth at fyd twyllodrus.

---

## 72. AIL RAN. (ad. 6—10, 16.) 8, 7.

*Iechydwriaeth trwy aberth Crist.*

1 NID offrwm, Nêr, ofynaist ti,
Nac aberth, i wneud cymmod;
Na gwaed 'nifeiliaid amal chwaith
I olchi ymaith bechod.

2 Dy Fab trag'wyddol ddaeth o'r nen,
I orphen d' eiriau ffyddlon;
I wneud d' ewyllys rhoes ei hun,
A'th gyfraith yn ei galon.

3 Pregethodd dy gyfiawnder di,
A'th iechyd cu i luoedd;
Ni chuddiodd ef dy ras rhag neb,
A'th fawr ffyddlondeb traethodd.

4 A'th geisiant di, a'th iechyd mwy,
Bont hwy yn llawen beunydd;
A d'weded pawb a'th garant, Nêr,
Mawryger Duw'n dragywydd.

---

**73.** PSALM 41. (adn. 1—3, 13.) 8, 7.

*Gofal Duw dros y tlawd.*

1 GWYN ei fyd y sawl ystyria
Wrth y tlawd anghenus ddyn,
Duw a'i gwrendy ac a'i gwared
Pan y bo mewn adfyd blîn;
Ceidw'r Arglwydd ef yn ddiogel,
Ac a'i cynnal ef yn fyw,
Gwynfydedig fydd ei gyflwr
Ar y ddaear, medd ei Dduw.

2 Pan fo'n afiach ar ei wely,
Nertha'r Arglwydd ef â'i ras;
A'i holl wely a gyweiria,
Nes ei gael o'i glefyd ma's:
Bendigedig mwy'n drag'wyddol
Fyddo Brenin nefoedd wen;
Duw ac Arglwydd Israel ydyw,
Ac a fydd dros fyth. Amen.

---

**74.** PSALM 42. (ad. 1, 2, 5, 8.) 8, 7, 4.

*Hiraethu am Dduw.*

1 FEL y brefa'r hŷdd lluddedig
Am afonydd dyfroedd byw,
Felly'n fawr hiraetha f' enaid
Am dy weled, O fy Nuw:
Gwir sychedig, &c.
Yw fy yspryd am dy ras.

2 F' enaid, pa'm y'th ddarostyngir?
Pa'm yr ymderfysgi cŷd?
Yn dy Dduw dod etto'th obaith,
A'i foliannu gei ryw bryd:
Iechydwriaeth, &c.
Ei wyneb-pryd fydd dy gân.

3 Etto'r Arglwydd a orchymyn
Ei drugaredd fore ddydd,
Ac am dani yn y cyfnos
Melus fy nghaniadau fydd:
Duw fy einioes! &c.
Câf ei ganmol cyn bo hir.

---

## 75. PSALM 43. 10au.

*Y Cristion mewn trallod.*

1.

BARN fi, O Dduw, a dadleu'm dadl o hyd,
Yn erbyn drwg elynion f' enaid drud;
O Dduw fy nerth, rho gymmorth newydd im',
Dy ras a'th hedd fo'm cyssur a fy ngrym.

2.

D' oleuni gyr, a dy wirionedd moes,
I'm tywys mwy, a'm harwain ddyddiau f' oes;
Nes dof i'r lan, i dawel orphwys fry
Ar Sïon fryn, o fewn i'th sanctaidd dŷ.

3.

Ac yna'r âf yn llon at allor Duw,
At Dduw, yr hwn fy holl orfoledd yw;
I Dduw, fy Nuw, y canaf beraidd glod,
Ar delyn aur, tra'r nef ei hun yn bod.

4.

Fy enaid trist! pa ham yr wyt mor brudd?
Dy ffydd mor wan, a'th ofnau'n fawr bob dydd?
Rho'th bwys ar Dduw, dy Dduw a'th Geidwad mâd,
A'i foli gei o'r newydd am ei rad.

---

**76. PSALM 44. (ad. 1—26.) M. H.**

*Daioni Duw i'r Eglwys gynt.*

1 A'N clustiau, Iôn, y clywsom ni
Ein tadau'n sôn am danat ti;
A'r weithred glodfawr wnaethost gynt
I'th eglwys hoff oedd wael ei hynt.

2 Y modd y gyrraist maes o'n gwlad
Dywyllwch du o hir barhâd;
Y modd y dygaist mewn i'n tir
Oleuni pur d' efengyl wir.

3 Ymffrostio wnaent bob dydd yn Nuw,
Clodforedd roent i'th enw gwiw;
I'th dŷ y doent dan ganu 'nghŷd,
I geisio'th borth a'th wyneb-pryd.

4 Ond gwarth a ch'wilydd heddyw sydd
Ar lethu'th bobol wyneb-brudd,
Wrth wel'd y gelyn creulon cas
Yn llwyddo cymmaint ar y ma's.

5 O tyr'd i'n cymmorth, Dduw, fel cynt,
Ar aden gyflym nefol wynt;
Dod etto le in' ddweyd dy fod
Mor raslawn heddyw ag erio'd.

2 F' enaid, pa'm y'th ddarostyngir?
Pa'm yr ymderfysgi cŷd?
Yn dy Dduw dod etto'th obaith,
A'i foliannu gei ryw bryd:
Iechydwriaeth, &c.
Ei wyneb-pryd fydd dy gân.

3 Etto'r Arglwydd a orchymyn
Ei drugaredd fore ddydd,
Ac am dani yn y cyfnos
Melus fy nghaniadau fydd:
Duw fy einioes! &c.
Câf ei ganmol cyn bo hir.

---

## 75. PSALM 43. 10au.

*Y Cristion mewn trallod.*

1.

BARN fi, O Dduw, a dadleu'm dadl o hyd,
Yn erbyn drwg elynion f' enaid drud;
O Dduw fy nerth, rho gymmorth newydd im',
Dy ras a'th hedd fo'm cyssur a fy ngrym.

2.

D' oleuni gyr, a dy wirionedd moes,
I'm tywys mwy, a'm harwain ddyddiau f' oes;
Nes dof i'r lan, i dawel orphwys fry
Ar Sïon fryn, o fewn i'th sanctaidd dŷ.

3.

Ac yna'r âf yn llon at allor Duw,
At Dduw, yr hwn fy holl orfoledd yw;
I Dduw, fy Nuw, y canaf beraidd glod,
Ar delyn aur, tra'r nef ei hun yn bod.

4.

Fy enaid trist! pa ham yr wyt mor brudd?
Dy ffydd mor wan, a'th ofnau'n fawr bob dydd?
Rho'th bwys ar Dduw, dy Dduw a'th Geid-
wad mâd,
A'i foli gei o'r newydd am ei rad.

---

**76.** PSALM 44. (ad. 1—26.) M. H.

*Daioni Duw i'r Eglwys gynt.*

1 A'N clustiau, Iôn, y clywsom ni
Ein tadau'n sôn am danat ti;
A'r weithred glodfawr wnaethost gynt
I'th eglwys hoff oedd wael ei hynt.

2 Y modd y gyrraist maes o'n gwlad
Dywyllwch du o hir barhâd;
Y modd y dygaist mewn i'n tir
Oleuni pur d' efengyl wir.

3 Ymffrostio wnaent bob dydd yn Nuw,
Clodforedd roent i'th enw gwiw;
I'th dŷ y doent dan ganu 'nghŷd,
I geisio'th borth a'th wyneb-pryd.

4 Ond gwarth a ch'wilydd heddyw sydd
Ar lethu'th bobol wyneb-brudd,
Wrth wel'd y gelyn creulon cas
Yn llwyddo cymmaint ar y ma's.

5 O tyr'd i'n cymmorth, Dduw, fel cynt,
Ar aden gyflym nefol wynt;
Dod etto le in' ddweyd dy fod
Mor raslawn heddyw ag erio'd.

2 F' enaid, pa'm y'th ddarostyngir?
Pa'm yr ymderfysgi cŷd?
Yn dy Dduw dod etto'th obaith,
A'i foliannu gei ryw bryd:
Iechydwriaeth, &c.
Ei wyneb-pryd fydd dy gân.

3 Etto'r Arglwydd a orchymyn
Ei drugaredd fore ddydd,
Ac am dani yn y cyfnos
Melus fy nghaniadau fydd:
Duw fy einioes! &c.
Câf ei ganmol cyn bo hir.

---

## 75. PSALM 43. 10au.

*Y Cristion mewn trallod.*

1.

BARN fi, O Dduw, a dadleu'm dadl o hyd,
Yn erbyn drwg elynion f' enaid drud;
O Dduw fy nerth, rho gymmorth newydd im',
Dy ras a'th hedd fo'm cyssur a fy ngrym.

2.

D' oleuni gyr, a dy wirionedd moes,
I'm tywys mwy, a'm harwain ddyddiau f' oes;
Nes dof i'r lan, i dawel orphwys fry
Ar Sïon fryn, o fewn i'th sanctaidd dŷ.

3.

Ac yna'r âf yn llon at allor Duw,
At Dduw, yr hwn fy holl orfoledd yw;
I Dduw, fy Nuw, y canaf beraidd glod,
Ar delyn aur, tra'r nef ei hun yn bod.

4.

Fy enaid trist! pa ham yr wyt mor brudd?
Dy ffydd mor wan, a'th ofnau'n fawr bob dydd?
Rho'th bwys ar Dduw, dy Dduw a'th Geid-
wad mâd,
A'i foli gei o'r newydd am ei rad.

---

**76.** PSALM 44. (ad. 1—26.) M. H.

*Daioni Duw i'r Eglwys gynt.*

1 A'N clustiau, Iôn, y clywsom ni
Ein tadau'n sôn am danat ti;
A'r weithred glodfawr wnaethost gynt
I'th eglwys hoff oedd wael ei hynt.

2 Y modd y gyrraist maes o'n gwlad
Dywyllwch du o hir barhâd;
Y modd y dygaist mewn i'n tir
Oleuni pur d' efengyl wir.

3 Ymffrostio wnaent bob dydd yn Nuw,
Clodforedd roent i'th enw gwiw;
I'th dŷ y doent dan ganu 'nghŷd,
I geisio'th borth a'th wyneb-pryd.

4 Ond gwarth a ch'wilydd heddyw sydd
Ar lethu'th bobol wyneb-brudd,
Wrth wel'd y gelyn creulon cas
Yn llwyddo cymmaint ar y ma's.

5 O tyr'd i'n cymmorth, Dduw, fel cynt,
Ar aden gyflym nefol wynt;
Dod etto le in' ddweyd dy fod
Mor raslawn heddyw ag erio'd.

3 Ar orsedd nef yr eistedd 'nawr,
Sef gorsedd ei sancteiddrwydd mawr;
A holl genhedloedd daear gron
Sydd dan lywodraeth helaeth hon;
Daw pawb ryw bryd o dan y nef
Yn unfryd i'w ddyrchafu ef.

---

## 84. PSALM 48. (ad. 1—3, 9, 10, 14.) 8, 7.

*Addurn a rhagorfraint yr Eglwys.*

1 ANFEIDROL fawr yn ninas Duw,
A chlodfawr yw yr Arglwydd;
A'i hoff breswylfa hefyd sydd
Ym mynydd ei sancteiddrwydd.

2 Gwir degwch bro, llawenydd gwlad,
Yn wastad, ydyw Sïon;
Ym mh'lasau hon adwaenir ef
Yn noddfa gref i'w mheibion.

3 'Nawr wedi dod i'th demel glyd,
Oddiwrth y byd a'i bethau;
Disgwyliwn, Arglwydd, am dy hedd,
A'th ryfedd drugareddau.

4 Dy enw aeth trwy'r byd i gyd,
Trwy'r byd o hyd y'th foler;
A'th ddeheu law, un nerthol iawn,
Sydd gyflawn o gyfiawnder.

5 Y Duw hwn byth fydd Dduw i ni,
Ond credu'n ddilys ynddo;
Ein tywys wna hyd angau'n wir,
A'r nefol dir gawn ganddo.

**85.** PSALM 49. (ad. 6—9.) 8, 7.

*Y ffolineb o ymddiried mewn cyfoeth.*

1 RHAI ar olud sydd yn pwyso,
Gan ymffrostio'n ffol o hyd
Y'nghyflawnder mawr eu cyfoeth;
O mor annoeth ŷnt i gyd!
Canys nis gall neb waredu
Brawd anwylgu rhag y bedd,
Nac i Dduw un iawn roi drosto,
Na phwrcasu iddo'i hedd.

2 Cadw'r corph rhag llygredigaeth,
'R holl gre'digaeth byth nis gwna;
A rhag distryw'r enaid aflan,
Nis gall arian, aur, na dâ;
Canys gwerthfawr iawn yw pryniad
Enaid anfad pob rhyw ddyn;
Nid oes neb all byth ei brynu,
Ond yr Iesu mawr ei hun.

---

**86.** AIL RAN. (ad. 10, 14, 15.) 8, 7.

*Angau yw diwedd pob dyn.*

1 Y BEDD yw lletty pob dyn doeth,
Y ffol a'r annoeth unwedd;
Bydd farw'r naill, bydd farw'r llall,
I arall gâd ei annedd.

2 Angau yw terfyn pob dyn byw,
I hwn nid yw ond tammaid;
Rhaid myned oll o'r tŷ i'r bedd,
Yn rhwym un wedd a'r defaid.

3 Ond daw i'r cyfion drannoeth llon,
Ei fywyd Iôn a estyn;
A phan o'r bedd y codo'n fyw,
Deheulaw Duw a'i derbyn.

## 87. PSALM 50. (ad. 1—6.) 6 llin. 8au.

*Dydd y farn.*

1 JEHOFA, Duw y duwiau i gyd,
Llefaru wna, a chlyw y byd;
O godiad haul hyd fachlud hwn
I farn y geilw'r hollfyd crwn;
O Sïon fryn y daw ein Duw,—
Sïon, perffeithrwydd tegwch yw.

2 Ein Duw pan ddêl, nid distaw fydd,
Ac ysol dân oleua'i ddydd;
A thymmestl ddirfawr iawn uwch ben
O'i gylch a rwyga entrych nen:
Ei lais a dreiddia'r nefoedd fry,
A holl anneddau'n daear ni.

3 I farn, i farn, rhaid myn'd i gyd,
Crynhôwch, medd Duw, fy saint ynghŷd,
A mi gymmodwyd ar y llawr,
Trwy aberth y Messia mawr:
Cân yna saint ac engyl nef
Mai cyfiawn yn ei farn yw ef.

---

## 88. AIL RAN. (ad. 14, 15, 23.) 8, 7.

*Aberth moliant.*

1 DY bwys, medd Duw, mwy arnaf dod,
A rho im' glod yn bennaf;
Abertha fawl, a thâl yn wir
D' adduned i'r Goruchaf.

2 Yn amser blinfyd ceisia fi,
A thi a'm cei'n Waredydd;
Ac yna ceni i mi glod,
Am droi y rhod mor ddedwydd.

3 Yr hwn abertho i mi fawl,
Yw'r sawl a'm gogonedda;
A'r neb a drefno'i ffordd yn wiw,
Gwir iechyd Duw a brofa.

**89.** PSALM 51. (ad. 1, 2, 7, 8.) 8, 7.

*Gweddi am faddeuant.*

1 TRUGAREDD, Arglwydd, dod i mi,
'Nawr o'th ddaioni tyner;
Ac ymaith tyn f' anwiredd maith,
O'th dosturiaethau lawer.

2 Golch fi, O Dduw, golch fi'n llwyr ddwys
Oddiwrth fawr bwys fy meiau;
Yn berffaith lân gwna di fyfi
Rhag brynti fy nghamweddau.

3 Y'ngwaed dy Fab, O golch fi'n lân,
Na fyddwyf aflan mwyach;
Byddaf, os ti a'm gylch fel hyn,
Nâ'r eira gwyn yn wynach.

4 Pâr imi hefyd brofi hedd,
Gorfoledd a llawenydd;
Yn hyfryd gwna fy enaid trist,
Trwy Grist fy ngwir Waredydd.

**90.** AIL RAN. (ad. 1, 3, 4, 9, 12.) M. C.

*Erfyn trugaredd.*

1 YN ol dy dosturiaethau fil,
O Arglwydd, trugarhâ
Wrth un sy'n teimlo'i galon ddu
Fel ffynnon lawn o bla.

2 Cydnabod wyf fy nghamwedd mawr
O'th flaen y funud hon,
A'm pechod erchyll sydd bob pryd
Yn amlwg ger fy mron.

3 Yn d' erbyn di y pechais, Dad,
Addefaf hyn o hyd;
Dy farnau a'th geryddon llym
Sy'n gyfiawn oll i gyd.

4 O cuddia'th wyneb, cuddia byth,
Oddiwrth fy mhechod mawr;
Dilëa'm hanwireddau i gyd,
Fel nos o flaen y wawr.

5 Drachefen rho orfoledd pur
Dy iechydwriaeth faith,
A'th Yspryd hael i'm cynnal mwy
Oddiyma i ben fy nhaith.

---

## 91. RHAN 3. (ad. 6, 10—12.) 8, 7.

*Gweddi am ras a sancteiddrwydd.*

1 O ARGLWYDD, ti a geri'r gwir
O fewn y gywir galon;
Am hyn, O dysg ddoethineb iach
Im' o'th gyfrinach ffyddlon.

2 Duw, crëa ynof galon bur,
A dod im' gyssur beunydd;
I fyw yn well tra fwy'n y byd,
Dod ynof ysprryd newydd.

3 O Dduw, 'n dy ddig na ddyro chwaith
Fi ymaith o'th olygon;
Ac fyth na chymmer d' Ysprryd Glân
Oddiwrthyf, druan gwirion.

4 Gorfoledd hyfryd dwg i mi,
Trwy roddi im' dy iechyd;
A'th Ysprryd hael fy nghynnal gwna,
I fyw yn dda iawn hefyd.

**92.** RHAN 4. (ad. 15—19.) M. C.

*Yr Aberth cymmeradwy.*

1 EIN genau agor, Arglwydd Dduw,
O clyw ar frys ein cri;
Ac yna'i gyd â llafar gân
Rhown foliant glân i ti.

2 Nid aberth, Iôr, a geisi di
Oddiwrthym ni a'n rhyw;
Nid offrwm poeth a fyn dy ras,
Ond yspryd addas briw.

3 Yr yspryd pur drylliedig yw
Aberthau Duw trwy'r byd;
Ac ni ddirmygi, O Dduw Iôn,
Y galon friw un pryd.

4 Wrth Sïon beunydd bydd yn dda,
Ac adeilada hi;
Rhydd yna ebyrth mawl a chlod
Tra'r byd yn bod i ti.

---

**93.** PSALM 52. (ad. 7—9.) 6, 8.

*Hyderu yn Nuw yn well nag yn y byd.*

1 Y DYN ni phwys ar Dduw,
Ond ar ei olud maith,
Gan geisio iddo nerth
Y'mhob drygionus waith;
Ni lwydda'n hir y nef o tan,
A distryw fydd ei fythol ran.

2 Nid felly'r cyfion cu,—
Blagura'n hardd ei brŷd,
Fel olew-wydden werdd,
Yn nhŷ ei Dduw o hyd:
Can's rhydd ei bwys, nid ar y byd,
Ond ar drugaredd Duw i gyd.

3 Am wneud o honot hyn,
O Arglwydd Dduw dilŷth,
Dy glod a draethir mwy,
Dy fawl a genir fyth;
A da fydd'gan dy seintiau cu
I ddisgwyl wrthyt yn dy dŷ.

---

## 94. PSALM 53. (ad. 6.) 7au.

*Erfyn ymchweliad yr Iuddewon.*

1 BELLACH cofia'th blant i gyd,
Sydd ar wasgar dros y byd,
Gwêl eu cystudd, Arglwydd Dduw,
A griddfannau Israel clyw;
O na ro'id i'r rhai'n pryd hyn
Iechyd da o Sïon fryn!

2 Pan ymchwelo Duw ei hun
Eu caethiwed bob yr un,
Israel fydd yn hyfryd iawn,
A llawenydd Iago'n llawn:
O na ro'id i'r rhai'n pryd hyn
Iechyd da o Sïon fryn!

---

## 95. PSALM 54. (ad. 1—4, 6.) M. B.

*Yr ymdrech ysprydol.*

1 ER mwyn dy enw cu,
Saif di o'm tu, O Dduw;
Yn dy gadernid cadw fi,
A'm gweddi'n wastad clyw.

2 Y diafol, cnawd, a'r byd,
O hyd yn f' erbyn sydd,
Gan geisio drwg i'm henaid gwan
Bob awr a rhan o'r dydd.

3 I'm cymmorth tyr'd yn glau,
A'r rhai 'n ymdrechu sy
I'm cynnal yn y frwydyr boeth,
O saif yn ddoeth o'u tu.

4 Aberthaf yna fawl
I ti'n wirfoddawl iawn;
Clodfori wnaf dy enw da
Y bore a'r prydnhâwn.

---

**96.** PSALM 55. (ad. 17, 18, 22.) 7au.

*Pwyso ar Dduw am borth.*

1 HWYR a bore, tra fwy' byw,
Gwrando'm gweddi, Arglwydd Dduw
Ganol dydd erglŷw fy llef
Ddêl i fynu tua'r nef.

2 Nertha'm henaid ar y ma's,
I orchfygu'r gelyn cas;
Er ei lid dod heddwch llon,
Dod bob munud dan fy mron.

3 Arno, f' enaid, rho dy faich,
Ac fe'th gynnal di â'i fraich;
Nid ysgoga'r gwanna'n fyw,
Sy'n ymddiried yn ei Dduw.

---

**97.** PSALM 56. (ad. 8, 9, 13.) 8,7.

*Gofal Duw am ei bobl.*

1 GOFIDIAU'r saint a gyfrif Duw,
A'i glust a glyw eu lleisiau;
Eu cwynion sy'n ei ŵydd i gyd,
Mewn costrel dŷd eu dagrau.

2 Pan godont lef i'w orsedd fry,
Y gelyn ffy yn ebrwydd;
Mor glau i'r nef â gweddi'r byw,
Mor agos yw yr Arglwydd!

3 Ti'n Ceidwad a'n Cynhaliwr mâd,
Byth cadw'n tra'd rhag syrthio;
Fel gallom y'ngoleuni'r byw,
Ger bron ein Duw i rodio.

---

**98.** PSALM 57. (ad. 1—3, 5.) 8, 7.

*Ymddiried yn Nuw.*

1 RHO'th ras a'th nawdd, O Dduw, i ni,
Can's ynot ti gobeithiwn;
Nes heibio'r êl pob aflwydd llym,
Dan d' edyn ymgysgodwn.

2 Ar Dduw Goruchaf galw wnawn,
Y Duw sy'n llawn tosturi;
A'r hwn o'n mewn y gwaith gwblhâ,
Mor dda ddechreuodd ini.

3 Enfyn o'r nef, a dwg ni'n glau
O law y rhai a'n llyngcai;
Enfyn ein Duw ei nawdd a'i hedd,
A'i lân wirionedd didrai.

4 Ymddyrcha, Dduw, y nef uwchlaw,
Oddiyno daw d' arwyddion;
A bydded dy ogoniant ar
Y ddaear a'i thrigolion.

---

**99.** AIL RAN. (ad. 7—11.) 8, 7.

*Moli Duw ein Iachawdwr.*

1 PAROD yw fy nghalon, Iesu,
I'th foliannu parod yw;
Canmol wnaf a chanu clodydd
Fy Ngwaredydd a fy Nuw:
Deffro, fy ngogoniant pennaf,
Mi ddeffröaf gyda'r wawr;
A chlodforaf di'n gyhoeddus,
Fel mae'n weddus imi 'nawr.

Canys mawr yw dy drugaredd,
A'th wirionedd felly sy;
Cyrraedd maent uwchlaw'r cymmylau,
A thrigfannau'r nefoedd fry:
Uwch y nefoedd, Duw, ymddyrcha,
Etto yma bydd o hyd;
A'th ogoniant glân yn gynnar
Lanwo'r ddaear faith i gyd.

---

**100.** PSALM 59. (ad. 16, 17.) M. C.

*Moli Duw am ei nerth, &c.*

1 'NAWR am dy nerth, O Arglwydd Nêr,
Y'th folwn ar y llawr;
Cei lafar gân y bore'n bêr,
Am dy drugaredd fawr.

2 Can's amddiffynfa gadarn iawn
Wyt ti i'th eglwys gu;
A noddfa'r bore a'r prydnhâwn
Yn nydd cyfyngder du.

3 I ti y canwn glodydd gwiw,
I ti, ein nerth dilŷth;
Can's Duw ein hamddiffynfa yw,
A Duw'n trugaredd byth.

---

**101.** PSALM 60. (ad. 4, 5, 11, 12.) 8, 7.

*Erfyn cymmorth gan Dduw.*

1 I'R rhai a'th ofnant rhoddaist, Nêr,
Dy Fab yn Faner lanwedd,
I'w chodi'n uchel yn y tir,
Yn achos y gwirionedd.

2 Fel y gwareder, trwy lân hwyl,
Bob rhai o'th anwyl ddynion,
O achub hwynt â'th ddeheu law,
A gwrandaw ninnau'n union.

3 Ein hunig Dduw, bydd ini'n borth,
Di les yw cymmorth undyn;
Yn Nuw y gwnawn wrolaeth fawr,
Fe sathra i lawr y gelyn.

**102.** PSALM 61. (ad. 1—5.) 8, 7.

*Diogelwch yn Nuw.*

1 ERGLYW, O Dduw, ein llefain ni,
Ac ar ein gweddi gwrando;
Rhown lef o eitha'r ddaear gron,
A'n calon yn llesmeirio.

2 Dwg ni i graig fo uwch nâ ni,
Ac iddi bydd i'n derbyn;
Can's cadarn dŵr in' fuost, a
Ein noddfa rhag y gelyn.

3 O fewn dy babell bydded byth
Ein trigfan ddilyth ddedwydd;
A'n holl ymddiried fynno fod
Dan gysgod dy adenydd.

4 Tydi, o Dduw, erglŷw yn glau,
Ein dymuniadau heddyw;
A rho in' etifeddiaeth dda
Y sawl a ofna'th enw.

**103.** PSALM 62. (ad. 1, 2, 5, 6.) M. H.

*Ymddiried yn Nuw.*

1 WRTH Dduw y disgwyl f' enaid gwan,
Sef Duw fy unig blaid a'm rhan;
O hono ef, a thrwy ei rym,
Y daw fy iachawdwriaeth im'.

2 Efe yn unig yw fy nghraig,
F' amddiffyn da rhag llid y ddraig;
Fy iechydwriaeth gyflawn yw,
Ni'm mawr ysgogir tra fwy' byw.

3 Mwy ar dy Dduw, fy enaid drud,
Yn ddyfal rho dy bwys a'th fryd;
Fy ngobaith siccir ynddo sydd,
Fe'm gwared byth o'm gofal prudd.

4 Efe yn unig yw fy Nghraig,
F' amddiffyn da rhag llid y ddraig;
Fy iechydwriaeth gyflawn yw,
Ni'm mawr ysgogir tra fwy' byw.

**104.** AIL RAN. (ad. 7, 8, 11, 12.) 8, 7.

*Eiddo Duw yw cadernid.*

1 YN Nuw yn unig mae i gyd
Fy iechyd a'm gogoniant;
Craig fy nghadernid yw efe,
A'm noddfa gre'n ddilysiant.

2 Agorwch, bobol, ger ei fron
Eich calon mewn cyfyngdra;
Rhowch ynddo'ch gobaith tra fo'ch byw,
A d'wedwch, Duw yw'n noddfa.

3 Duw a lefarodd hyn un waith,
Mi glywais ddwywaith hynny;
Mai iddo ef y mae bob pryd
Gadernid yn perthynu.

4 Ti hefyd, Arglwydd Dduw, a fedd
Drugaredd a daioni;
I bawb dan gwmpas wybren faith
Yn ol eu gwaith y teli.

**105.** PSALM 63. (ad. 1—5.) 8, 7.

*Ceisio Duw yn y Cyssegr.*

1 TI yw fy Nuw, Duw Dad o'r ne',
Mi geisia'n fore attat;
Mae ar fy enaid syched mawr,
A hiraeth 'nawr am danat.

2 Mewn tir heb ddŵr, mewn crinder cras,
Gâd im' o'th ras dy weled;
Amlyga im', O Dduw, 'n dy dŷ,
Dy allu mawr gogoned.

3 Can's mae'th drugaredd, Arglwydd Nêr,
Yn llawer gwell nâ'r bywyd;
Rhof iti â'm gwefusau fawl,
A cherdd ogonawl hyfryd.

4 Fel hyn tra fyddwyf byw y gwnaf,
Ac felly'th folaf etto;
Ac yn dy enw di, sydd gu,
Y gwnaf ddyrchafu 'nwylo.

5 Digonir f' enaid fel â mêr,
A chyflawn frasder hefyd;
A'm genau gân dy foliant tau
A phur wefusau hyfryd.

---

**106.** ARALL. 8, 8, 8.

1 O DDUW, ein grasol Dduw wyt ti,
A thi yn fore geisiwn ni;
Sycheda'n henaid am dy ras;
Hiraethu'r ŷm am wel'd dy wedd,
A phrofi mwy o'th hyfryd hedd,
Mewn anial dir sychedig cras.

2 O gâd i'n llygaid wel'd yn awr
Dy nerth a'th bur ogoniant mawr,
O fewn cynteddau'th sanctaidd dŷ;
Can's gwell yw dy drugaredd rad
Nâ'r bywyd goreu'n unrhyw wlad,
Am hyn y molwn d' enw cu.

3 Ein bywyd oll, heb oedi'n hwy,
Ddefnyddiom i'th glodfori mwy,
A galw'n daer ar d' enw glân;
A'n henaid fel â brasder pêr
Ddigonir gennyt, Arglwydd Nêr,
Tra'th folom di â llafar gân.

---

**107.** PSALM 64. (ad. 1, 9, 10.) M. C.

*Erfyn ymwared rhag y gelyn.*

1 FY ngweddi clyw, fy Nuw, o'r nef,
A gwrando'm llef o'th ras;
Fy einioes cadw bob rhyw bryd
Rhag gŵg a llid fy nghas.

2 Ac yna dywaid pawb a'i gwêl,
Gwaith y Goruchel yw;
Can's doeth ystyriant ar eu taith
Ei waith i'm henaid byw.

3 Ac yn Jehofa llawenhâ,
Ac y gobeithia'i blant;
A'r sawl âg uniawn galon sy,
Gwir orfoleddu wnant.

---

**108.** PSALM 65. (ad. 1—4.) M. H.

*Moli Duw yn Sïon.*

1 PER fawl a'th erys, Arglwydd Nêr,
O fewn dy Sïon îs y sêr;
Ac yno talwn oll i ti
Yr addunedau wnaethom ni.

2 Cyn hir daw pawb i'th geisio di,
Sy'n gwrando gweddi'th blant a'u cri;
Gan estyn in' faddeuant llawn
O'n holl gamweddau mawrion iawn.

3 Y dyn ddewisech, dedwydd yw,
Yn agos attat fry i fyw;
Tra gwir ddigonir, Arglwydd cu,
Nyni â mawr ddaioni'th dŷ.

**109.** AIL RAN. (ad. 9, 10, 11, 13.) 8, 7.

*Daioni Duw yn ei Ragluniaeth.*

1 A'r dda'r ymweli di, O Dduw,
A phob peth byw sydd arni;
Y gwlaw a'r gwlith anfoni lawr
I'w thramawr gyfoethogi.

2 Pob rhych yr wyt yn ei ddyfrhau,
A'i chwysau'r wyt i'w gostwng;
A'i mwydo'r wyt â chafod wlith,
I'w chnwd rhoi fendith deilwng.

3 Trwy'th fendith di y gwastad dir
A guddir oll â defaid;
Crechwenna, cana pawb ynghŷd,
A'r wlad âg ŷd ei llonaid.

4 Coroni'r ydwyt ti fel hyn
Y flwyddyn â'th ddaioni;
A'th lwybrau'n wir, O Arglwydd Nêr,
Ddiferant frasder arni.

**110.** PSALM 66. (ad. 1, 3, 5, 8, 9.) M. H.

*Mawl i Dduw.*

1 YN Nuw ymlawenhêwch i gyd,
Chwi holl fywolion hyn o fyd;
Datgenwch fawr ogoniant Nêr,
Ac iddo cenwch fawl yn bêr.

2 I weled gwaith ein Duw, O dewch,
Ac addef oll yn union wnewch,
Mai mawr iawn ac ofnadwy yw
Yn oll a wna i ddynol ryw.

3 Ein Duw bendithwch yn ddi dawl,
A pherwch glywed llais ei fawl;
'R hwn gynnal fywyd yn ein gwa'd,
A'n troed i lithro'n ddrwg ni âd.

4 Gan amled ydyw nerth dy law,
Bydd i'th elynion bryder braw;
Y ddaear oll d' addoli wnan',
A chanant glod i'th enw glân.

---

**111.** AIL RAN. (ad. 16, 17, 19, 20.) 8, 7.

*Moli Duw am atteb gweddi.*

1 O DEWCH, gwrandewch, gyfeillion gwiw,
Sy'n ofni Duw bendigaid,
Tra y mynegwyf i chwi'n ffraeth
Yr hyn a wnaeth i'm henaid.

2 A'm genau llefais ar fy Nêr,
A'i glod yn bêr a genais;
Ac ef yn glau a glybu'm llef,
Yr hon i'r nef ddyrchefais.

3 Bendigaid fyddo Duw'n barhaus,
Wrandawodd lais fy ngweddi;
Yr hwn ni thrôdd oddiwrthyf chwaith
Ei ras a'i faith dosturi.

---

**112.** PSALM 67. M. B.

*Erfyn helaethiad teyrnas Dduw.*

1 DUW, wrthym trugarhâ,
A gwna'n bendithio'n wir;
Tywynned 'nawr dy wyneb mâd
Ar dref a gwlad yn glir:—

2 Fel gwyper ffordd dy ras
Trwy'r ddaear las o'r bron;
A'th iechydwriaeth fawr y'mhlith
Holl amrith bobol hon.

3 Y bobl a'th folo, Nêr,
A'th folo'n bêr trwy'r byd;
A'r holl genhedloedd îs y nen,
Yn llawen b'ont o hyd.

4 Can's berni'r bobl i gyd,
Rheoli'r byd yn iawn,
Molianned pawb di am dy ras,
Bob bore glas a nawn.

5 Ei ffrwyth rhydd yna'r tir,
A'i fendith wir rhydd Duw;
A'i ofni ef trwy gyrrau'r dda'r
Wna anwar ddynol ryw.

---

**113.** PSALM 68. (ad. 1, 3, 4, 9, 10.) 8, 8, 6.

*Moliannu Duw Jehofa.*

1 CYFODED Duw y'ngrym ei ras,
Ffoed ei elynion cyndyn cas,
Mewn braw ar frys o'i fla'n;
Ond boed ei blant i gyd yn llon,
Yn orfoleddus ger ei fron,
A hyfryd iawn eu cân.

3 Rhowch fawl i Dduw â llafar lef,
Ei enw mawr canmolwc[illegible]
A hwn Jehofa yw;
Dyrchefwch ef yn n[illegible]
Yn gyflym ar y nef[illegible]
A llef gorfoledd[illegible]

3 Dihidlaist gynt yng Nghanaan draw
Ar d' etifeddiaeth raslawn wlaw,
Ac a'i gwrteithiaist hi;
Ac i'th anghenus blant trwy'r byd
Darparu 'r wyt, ein Iôr, o hyd,
Darparu 'r wyt i ni.

---

**114.** AIL RAN. (ad. 17—20.) M. H.

*Esgyniad Crist, &c.*

1 PAN aethost, Arglwydd, fry i'r ne',
Angylion ddengmil lanwai'r lle;
O'th gylch 'r oedd nefol geidwaid lu
I'th warchad fel cerbydau fry.

2 Pwy draetha faint gorfoledd fu
Gwel'd holl alluoedd uffern ddu,
A wnaent eneidiau'n gaethion trist,
'Nawr mewn cadwynau'n gaeth gan Grist!

3 Dyrchafodd Crist i'w orsedd fawr,
A'r Ysprýd Glân anfonai lawr;
A rhoddion gras i gyndyn ryw,
Fel gyda 'rhai'n y trigai Duw.

4 Bendigaid fyddo Duw bob pryd,
Sef Duw ein iechydwriaeth ddrud;
Ein llwytho mae bob munud awr
A doniau ei ddaioni mawr.

5 Efe ei hun i ni sy Dduw,
A Duw ein iechydwriaeth yw;
Dihangfa rhag marwolaeth brudd
Yn perthyn iddo'n unig sydd.

**115.** RHAN 3. (ad. 26, 28, 35.) 8, 7.

*Clodfori Duw ein cadernid.*

1 BENDITHIWCH Dduw, i'w blant
sy dda,
Y'mhob cyn'lleidfa ddiwael,
Clodforwch ef â llafar dôn,
Chwi sydd o ffynnon Israel.

2 Ti Dduw a drefnaist i ni nerth,
A'r hwn yw'n prydferth Geidwad,
O cadarnhâ o'n mewn i gyd,
O hyd, hoff waith dy gariad.

3 Ofnadwy wyt o'th gyssegr fry,
O Dduw, i dy elynion;
Ond nerth a roi i'th blant wrth raid,
Bendigaid fych yn gysson.

---

**116.** RHAN 4. (ad. 29, 31, 32.) M. C.

*Ymlediad Teyrnas y Messia.*

1 Y'MLAEN, y'mlaen â teyrnas Iôr
Dros dir a môr o hyd;
Er mwyn Caersalem, adail dêg,
Caiff anrheg cedyrn byd.

2 O'r Aipht daw pendefigion lu
I geisio'r Iesu byw;
Ac Ethiopia'n brysur draw
A estyn law at Dduw.

3 Chwychwi deyrnasoedd da'r i gyd,
I Dduw cyd-genwch glod;
O cenwch, cenwch fawl yn rhwydd
I Arglwydd pawb sy'n bod.

**117.** PSALM 69. (ad. 29—34.) 7au.

*Gwrendy yr Arglwydd ar dlodion.*

1 TRUAN a gofidus iawn,
Wyf yn wir, O Arglwydd Dduw;
Boed i'th iechydwriaeth lawn
I'm dyrchafu tra fwy' byw:
Yna molaf d' enw glân,
A mawrygaf ef ar gân.

2 Hyn nag ychain bro a bryn
Mwy boddlonrwydd it' a rydd;
A phan wêl trueiniaid hyn
Mawr iawn eu llawenydd fydd:
Bydd eich calon chwithau byw,
Sydd yn ceisio wyneb Duw.

3 Gwrando'r tlawd wna Duw dilŷth,
Pan y curo borth y nef;
Ni ddirmygir ganddo byth
Un o'i garcharorion ef:
Moled nef a daear Iôr,
A'r hyn oll sydd yn y môr.

---

**118.** PSALM 71. (ad. 3, 6, 8, 9, 18.) 8, 7.

*Mawl i Dduw ein Ceidwad a'n Cynheilydd.*

1 DUW'n drigfa gadarn bydd i ni
I gyrchu atti'n wastad;
Ein Hamddiffynfa gref a'n Craig,
Rhag llid y ddraig yn Geidwad.

2 O groth ein mam y tynnaist ni,
O'r bru ti fu'n Cynheilydd;
Dy glod am hyn, d' ogoniant glân,
Fo'n hyfryd gân ni beunydd.

3 O Dduw, na wrthod ni yn hen,
A'n pen a'n gên yn llwydo;
Nes traethom ni i'r rhai sy'n ol
Dy wyrthiau nerthol etto.

---

**119.** PSALM 72. (ad. 3—8, 11.) 8, 7.

*Llywodraeth heddychlon Crist.*

1 HEDD a chyfiawnder, ar ol hyn,
Geir y'mhob bryn a mynydd;
Can's achub Crist y gwan, o'i ras,
A dryllia'r cas orthrymmydd.

2 Fe'i hofnir ef mewn bryn a bro,
Tra treiglo haul a lleuad;
Fe ddaw fel gwlaw ar borfa las,
Neu gawod fras ar wastad.

3 Yn nyddiau hwn, mewn harddwch llawn,
Y cyfiawn a flodeua;
Bydd heddwch hyfryd îs y nen,
Tra lleuad wen yn para.

4 Ymestyn wna llywodraeth Iôr
O fôr hyd fôr yn gynnar;
O ffrwd Euphrates fawr yn glau,
Hyd bell derfynau'r ddaear.

5 Ië, holl frenhinoedd llawr yn llu,
Ddont dan ymgrymmu atto;
A holl genhedloedd daear faith
A wnant wasanaeth iddo.

---

**120.** AIL RAN. (ad. 10, 15—19.) 9, 8.

*Helaethrwydd ei lywodraeth.*

1 BRENHINOEDD ynysoedd y ddaear
A dalant anrhegion i gyd,
O Sheba aroglber y dygant
Eu rhoddion i Brynwr y byd:

Rhoir iddo aur Seba gyfoethog,
  Ac arno gweddïir bob dydd;
Yn wastad clodforir ei enw,
  A mawr ei ogoniant a fydd.

2 Bydd dyrnaid o ŷd ar y ddaear,
  Y'mhen y mynyddoedd y bydd;
Fe ysgwyd ei ffrwyth fel Libanus,
  Can's cynnyrch tra helaeth a rydd;
Trigolion dedwyddol y ddinas
  Flodeuant yn harddwych eu pryd,
Mor wyrddlas ag irwellt y ddaear,
  Mor amled a hwnnw o hyd.

3 Ei enw a bery'n dragywydd,
  Tra haul yn ffurfafen y nef;
Caiff pob rhyw genhedlaeth ei fendith,
  Bendigaid y galwant hwy ef:
Bendigaid fo'i enw godidog,
  Trwy oesoedd diddarfod i ddod;
A llanwer y ddaear yn hollol,
  O'i ddisglair ogoniant a'i glod.

---

**121.** RHAN 3. (ad. 1, 2, 12—14, 18.) M. H.

*Bendithion teyrnas y Messia.*

1 Y DEYRNAS dod i'th Fab yn awr,
O Dduw, a dyrcha'i orsedd fawr;
A rhydd i'th bobol gyfiawn frawd,
Ac uniawn farn i'r truan tlawd.

2 Pan glywo fry riddfannau'r gwan,
Efe a'i gweryd yn y man;
I bob un bydd yn borth wrth raid,
A'r ni bo ganddo neb o'i blaid.

3 I'r tlawd mewn rhaid fe rydd fo dda,
A'i enaid gwan ei achub gwna;
A gwerthfawr yn ei olwg fydd
Ei einioes gu bob awr o'r dydd.

4 Bendigaid fyddo'r Arglwydd Dduw,
Can's Duw ei bobol beunydd yw;
Fe'n unig fry, ac ar y llawr,
Sy'n gwneuthur gwyrthiau rhyfedd fawr.

---

## 122. PSALM 73. (ad. 23—26, 28. 8, 7.

*Duw ein hunig gynnorthwywr.*

1 FEL plentyn gwan, fy nefol Dad,
'Rwy'n wastad dan dy ofal;
Ymaflaist yn fy neheu-law,
Yma a thraw i'm cynnal.

2 A'th gyngor etto y gwnai di
Fy nhywys i'n ddilysiant;
A'm cym'ryd wnai, ar ben fy nhaith,
I berffaith lân ogoniant.

3 Pwy gennyf sydd i'm cymmorth i,
Fy Nuw, ond ti'n y nefoedd?
A chyda thi ni cheisiaf neb
Dros wyneb daear leoedd.

4 Fy nghalon wan a'm cnawd i sy
Yn pallu 'nghymmorth beunydd;
Ond nerth fy nghalon wyt a'm rhan,
A'm tarian yn dragywydd.

5 Peth da im' mwy, a gweddus yw,
Nesâu at Dduw y nefoedd;
I osod ynddo'm gobaith cu,
A thraethu ei weithredoedd.

**123.** PSALM 74.(ad. 1, 2, 13, 15.) 8, 7.

*Erfyn dychweliad yr Iuddewon.*

1 PAHAM y bwri heibio cŷd
Dy bobl trwy'r byd, Jehofa?
Paham y digi di'n ddi-baid
Wrth ddefaid mân dy borfa?

2 Duw, cofia'r rhai a brynaist gynt,
Rho iddynt waredigaeth;
O cofia dy breswylfa hon,
Sef Sïon, d' etifeddiaeth.

3 Ti berthaist gynt â dirfawr nerth
Y môr, a'i anferth donnau;
Ti ddrylliaist bennau'r dreigiau'n friw,
O Dduw, yn ei ddyfnderau.

4 O'r graig i'th blant daeth dŵr i ma's,
Mewn anial cras caed ffynnon;
'R Iorddonen sychaist i dy saint,
Er maint oedd ffrwd yr afon.

5 Duw, cofia'r rhai a brynaist gynt,
Rho iddynt waredigaeth;
O cofia dy breswylfa hon,
Sef Sïon, d' etifeddiaeth.

---

**124.** PSALM 75. (ad. 1, 6, 7, 9.) 8, 7.

*Duw yn goruwch-lywodraethu pob peth.*

1 CLODFORWN di, drag'wyddol Dduw
I ti tra'n fyw rhown foliant;
Mai agos yw dy enw'n awr,
Dy wyrthiau mawr ddangosant.

2 O herwydd nid o'r dwyrain draw
I ddyn y daw dyrchafiad;
Nid o'r gorllewin chwaith na'r de'
Daw iddo fe ei godiad.

3 Yn holl deyrnasoedd dynol ryw,
Yr Arglwydd byw sy'n barnu ;
Fe ostwng heddyw'r naill heb ball,
A chwyd y llall y foru.

4 Am dy ddaioni mawr i'n tir,
A chadw'r gwir i'n meithrin ;
Dy foliant glân a genwn fyth,
O Dduw, ein dilyth Frenin.

---

**125.** PSALM 76. (ad. 1, 2, 7, 11.) M.H.

*Ofnadwy yw ein Duw ni.*

1 ADWAENIR Duw o fewn ei dŷ,
A'i enw gwiw'n ei eglwys gu ;
Ei babell ef yn Salem sydd,
A'i drigfa fyth yn Sïon fydd.

2 Tydi, ofnadwy wyt o hyd,
A phwy a saif o flaen dy lid?
Os ennyn wna dy ddigter di,
Fe ddarfu'n lân am danom ni.

3 Eich rhodd i'r Arglwydd Dduw addêwch,
A phob adduned dda cwblhêwch ;
Dygwch i gyd, chwi ddynion byw,
Eich anrheg i'r ofnadwy Dduw.

---

**126.** PSALM 77. (ad. 1,3,5,8,10.) 8, 7.

*Gobaith yn llwyddo yn erbyn ofnau.*

1 AR Dduw y gwaeddais i â'm llef,
A chlybu ef fy ngeiriau ;
Yn nydd fy nhrallod cyfyng caeth,
A'r nos y daeth fy ofnau.

2 Trist oedd y dydd a'r nos i mi,
Fy enaid ni 'mgysurai ;
Er cofio Duw sy'n rasol dda,
Fy meddwl a'm gofidiai.

3 Gelwais yn ol amseroedd hên,
Pan welais wên dy wyneb;
Chwiliais a oedd un dirgel fai
A rwystrai'th bresennoldeb.

3 A gilia, meddwn, Duw, tra bwy'?
Ai ni bydd mwy yn foddlon?
A ddarfu ei drugaredd byth,
A'i ddilyth addewidion?

5 Attebais, Hyn fy ngwendid yw,
Ac etto Duw a gofiaf;
Galwaf i gof flynyddoedd cu
Deheulaw y Goruchaf.

---

**127.** AIL RAN. (ad. 11—19.) 8, 8.

*Galw gweithredoedd Duw i gof.*

1 COFIAF, Arglwydd, dy weithredoedd
A dy wyrthiau da 'r hen oesoedd;
Ar dy hollwaith y myfyriaf,
Ac am dano y chwedleuaf.

2 Mae dy ffordd yn sanctaidd rhyfedd,
B'le mae'r duw fel ti mewn mawredd?
Ti yw'r Duw goruwch y duwiau,
Sydd yn gwneuthur rhyfeddodau.

3 Gwelwyd gynt dy nerth yn eglur
Yn y môr, a thrwy'r anialdir;
Pan waredaist ti dy bobol,
Meibion Israel, mor rasusol.

4 Duw! y dyfroedd oll a'th welsant,
Gwelsant di, a mawr ofnasant;
Fe gynhyrfwyd y dyfnderau,
Dŵr dywalltodd y cymmylau.

5 Twrf dy daran a glybuwyd,
Gan dy fellt y byd oleuwyd;
Clywai'r ddaear dy leferydd,
Ac fe grynai seiliau'r gwledydd.

6 Mae dy ffordd mewn moroedd mawrion,
Llwybrau'th draed mewn dyfroedd dyfnion;
Pwy all ddirnad dy ragluniaeth,
A dyfnderau'th iechydwriaeth!

---

**128.** PSALM 78. (ad. 4, 6, 7.) 8, 7.

*Addysgu plant yn dduwiol.*

1 CANMOLWN Dduw i'r oes a ddêl,
Ei nerth a'i uchel wyrthiau;
Fel y mynegont hwy yn ffraeth
Hyn i'w hiliogaeth hwythau.

2 Fel gwyper byth o oes i oes
Y rhoes ef ei dystiolaeth;
O dad i fab, o fab i ŵyr,
I gadw llwyr wybodaeth.

3 Fel hyn y dysgir hwy, bob rhyw,
I gredu'n Nuw yn union;
Fel nac anghofiont byth mo'i waith,
Ond gwneud ei berffaith eirchion.

---

**129.** PSALM 79. (ad. 8, 9, 13.) M. H.

*Ceisio trugaredd a gras.*

1 NA chofia'n hwy gamweddau'n hoes,
Duw, brysia, a'th drugaredd moes;
Ein henaid gwan ragflaeno'th ras,
Sy'n llesg o dan ei lygredd cas.

2 O Dduw ein hiechyd, cymmorth ni,
Er mwyn gogoniant d' enw di;
Wrth ein pechodau trugarhâ,
A'n gwared oll oddiwrthynt gwna.

3 A ninnau'th braidd a'th ddefaid mân
A ganwn fyth dy foliant glân;
O oes i oes, tra'r nef yn bod,
Datganwn fry dy deilwng glod.

---

**130.** PSALM 80. (ad. 1, 3, 18, 19.) 8, 7.

*Erfyn ffafr Duw.*

1 ARWEINYDD Joseph, clyw a gwêl,
O Fugail Isr'el gwrando;
O blith cerubiaid edrych lawr,
Yn awr, gan ymddisgleirio.

2 Duw, dychwel ni, a'th wyneb llon
Lewyrcho'n dirion arnom;
Ac yna fe'n hachubir oll,
Fel nad ar goll yr elom.

3 Oddiwrthyt ti ni chiliwn chwaith,
Ond wrth dy waith y glynwn;
Ein hyspryd marwaidd—ef bywhâ,
A'th enw a glodforwn.

4 Duw, dychwel ni, a'th wyneb llon
Lewyrcho'n dirion arnom;
Ac yna fe'n hachubir oll,
Fel nad ar goll yr elom.

---

**131.** ARALL. M. H.

1 O FUGAIL da holl Israel Duw,
Oedd rhwng cerubiaid gynt yn byw;
Dygaist dy braidd trwy'r dwfwn fôr,
A thrwy'r anialwch maith, ein Iôr.

2 Mae'th eglwys 'nawr mewn anial le,
Llewyrcha, tywys hon i dre';
O dychwel ni, moes heddwch mwy,
A'n hachub gawn heb gŵyno'n hwy.

3 Oddiwrthyt ti ni chiliwn chwaith,
Ond glynwn beunydd wrth dy waith;
Ein hyspryd marwaidd—ef bywhâ,
A molwn mwy dy enw da.

4 Erglŷw, O Arglwydd Dduw, ein llef,
Llewyrched d' wyneb llon o'r nef;
O dychwel ni, moes heddwch mwy,
A'n hachub gawn heb gŵyno'n hwy.

---

**132.** AIL RAN. (ad. 7—9, 12—15.) 8, 7.

*Dychweliad yr Iuddewon.*

1 EIN gweddi dros hen Israel clyw,
A gwêl, O Dduw, eu helynt;
O dychwel hwynt, eu hachub gwna,
Llewyrcha d' wyneb arnynt.

2 Mudaist o'r Aipht winwydden hardd,
Rhoest iddi ardd yng Nghanaan;
A'r holl genhedloedd drwg o'u bla'n
Yn lân a fwriaist allan.

3 Mewn tir gwrteithiol plennaist hi,
A pheraist iddi wreiddio;
A'r tir a lanwodd oll yn glau,
Ei changau dannodd drosto.

4 Paham y rhwygaist gaeau hon
I bawb o'r bron i'w difa?
Y baedd o'r coed a'i turia'n awr,
A'r bwystfil mawr a'i pora.

5 O Dduw y lluoedd, dychwel, gwêl,
Ymwêl â'th hen winwydden;
Y winllan hon a blennaist ti,
Ymwêl â hi drachefen.

**133.** PSALM 84. (ad. 1, 2, 4—7.) 8, 7.

*Ymhyfrydu mewn addoliad cyhoeddus.*

1 DY babell di mor hyfryd yw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd;
Mynych chwennychais weled hon,
Gan mor dra-thirion ydoedd.

2 Y man b'ost ti, boed fryn neu fro,
Sydd gyflawn o ddiddanwch;
Yn dy gynteddau'n wastad mae
Rhyw fôr di-drai o heddwch.

3 Gwyn fyd preswylwyr llon dy dŷ,
Cânt dy foliannu'n gyson;
'Rhai eu cadernid ynot mae,
A'th lwybrau yn eu calon.

4 Pe gorfod fyddai ar y rhai'n
'R hyd glyn wylofain dramwy;
Agorir ffynnon iddynt hwy,
A'r gwlaw a'u lleinw fwyfwy.

5 Ant rhagddynt bawb o nerth i nerth,
Nes cael yn brydferth ddyfod,
I 'mddangos i Dduw, ger ei fron
Yn Sïon ei breswylfod.

**134.** ARALL. M. H.

1 O PA mor deg ac hawddgar yw
Dy bebyll ar y dda'r, O Dduw!
Mae f' enaid i mewn blys a chwant
Am gwrdd â thi y'mhlith dy blant.

2 Gwyn fyd y rhai gânt gennyt le
Yn nhemlau'th ras sydd îs y ne';
Cânt yno wel'd dy siriol wedd,
Cyd-ganu'th fawl, a phrofi'th hedd.

3 Gwyn fyd y sawl â'u calon sy
Yn ceisio'r ffordd i Sïon fry;
Ti yw eu nerth bob cam o'r daith,
A'u cysur yn yr anial maith.

4 O nerth i nerth yr ânt o hyd,
Nes cwrddont yn y nef i gyd,
Yn llon o'th flaen, er bod y'mhell,
I uno mewn addoliad gwell.

---

**135.** ARALL. (ad. 1—7.) 6, 8.

1 ARGLWYDD y bydoedd fry,
Mor deg a hawddgar yw
Trigfannau'th gariad cu,
Daearol demlau'm Duw!
Mae tynfa f' enaid tua'th dŷ,
Fy Nuw, gael gwel'd dy wyneb cu.

2 Hoff gan aderyn tô
I'w gywion yno le,
A'r wennol ar ei thro,
Hiraetha am ei thre':
Mae'm hiraeth innau'n fwy o faint
Am gael preswylio gyda'r saint.

3 Preswylwyr llon dy dŷ,
Mor happus ydynt hwy!
Cyd-foli d' enw cu,
Eu hyfryd waith fydd mwy:
Y rhai'n dy nerth, trwy'r anial fyd,
Sy'n rhodio'th ffyrdd, O gwyn eu byd!

4 O nerth i nerth i gyd
Yr ânt trwy'r dyffryn du,
Nes delont bawb ryw bryd
At Dduw i Sïon fry:
O hyfryd ddydd pan ddygo Duw
Ei blant i'r nefoedd wen i fyw!

---

**136.** AIL RAN. (ad. 8—12.) 8, 7.

*Diwrnod yn nhŷ Dduw yn well nâ mil.*

1 EIN mawl a'n gweddi heddyw clyw,
O Arglwydd Dduw y lluoedd;
Er mwyn d' Enneiniog edrych lawr
Yn rasol 'nawr o'r nefoedd.

2 Un dydd yn dy gynteddau'n wir
Sy'n well na mil i'r enaid;
Gwell cadw'r drws lle mae'th fwynhâu,
Na ph'lasau pechaduriaid.

3 Can's Haul a Tharian ydyw Duw,
Rhydd ras a gwiw ogoniant;
Ni wrthyd ddim daioni chwaith
I'r rhai a berffaith rodiant.

4 O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr,
Anfon i lawr dy gymmod;
Dedwydd yw'r dyn a roddo'i gred,
A'i holl ymddiried ynod.

---

**137.** ARALL. M. H.

1 DUW, gwrando Sïon, canu mae,
Dy wyneb sy'n ei llawenhâu;
Gwell treulio gyda thi un dydd,
Nâ mil mewn p'lasau goreu sydd.

2 Pe cawn fwynhâu'r lle gwaelaf sy,
O Dduw fy nerth, o fewn dy dŷ;
Nid p'lasau teg, a'u pethau tlws,
Gai hudo 'nhroed i ado'th ddrws.

3 Pob rheidiol ras a rydd ein Duw,
A choron o ogoniant gwiw;
Nid ettyl un daionus rodd
Rhag neb a rodiant wrth ei fodd.

4 O Arglwydd Dduw y lluoedd mawr,
Dy gymmod ini anfon 'lawr;
Dedwydd yw'r dyn, a dedwydd fydd,
A'i holl ymddiried ynot sydd.

---

**138.** ARALL. 6, 8.

1 O DDUW y lluoedd mawr,
Erglŷw ein gweddi fry;
A gwrando'n mawl yn awr
O fewn cynteddau'th dŷ:
Duw Jacob clyw, Duw'n tarian gref,
Yn rasol edrych 'lawr o'r nef.

2 Cael treulio sanctaidd ddydd
Lle byddo Duw a'i saint,
Llawenydd gwell a rydd
Nâ mil mewn bydol fraint:
Gwell ydyw cadw'r drws o hyd
Lle dêl fy Nuw na ph'lasau'r byd.

3 Can's Haul a Tharian yw
Jehofa Dduw o hyd,
Gras a gogoniant gwiw
A rydd i'w blant i gyd:
A dim sy dda ni wrthyd ef
I'r rhai a rodiant lwybrau'r nef.

4 O Arglwydd Dduw dilŷth,
I'r hwn y rhoir uwch ben
Ufudd-dod perffaith byth,
Gan luoedd disglair nen:
Dedwydd yw'r dyn, a dedwydd fydd,
A'i holl ymddiried ynot sydd.

---

**139.** PSALM 85. (ad. 1—7.) M.H.

*Gweddi am adferiad Israel.*

1 I ISRAEL, Iôr, yn raslawn bydd,
Ac i'w hadferu brysia'r dydd;
Eu mawr anwiredd maddeu byth,
A chuddia'u beiau rif y gwlith.

2 Paham y digi wrthynt cŷd?
A bery'th lid hyd ddiwedd byd?
O tyn dy lid oddiwrthynt oll,
Na chrwydront mwy fel praidd ar goll.

3 Ar frys, O Dduw, tro i'w bywhâu,
Fel caffont ynot lawenhâu;
Dod iddynt iechydwriaeth rad,
A golch eu henaid yn dy wa'd.

---

**140.** AIL RAN. (ad. 7—10.) 6, 8.

*Iechyd Duw yn agos.*

1 AMLYGA, Arglwydd mâd,
I ni'th drugaredd 'nawr;
Rho ini oll yn rhad
Dy iechydwriaeth fawr:
O'r nefoedd fry ein gweddi clyw,
Ac ini'n glau dod heddwch gwiw.

2 I'r rhai a'i hofnant ef,
Ei iechyd agos yw;
Can's wele daeth o'r nef
Iachawdwr dynol ryw:
A holl ogoniant Duw ei hun
A drig ym Mherson Mab y Dyn.

3 Yng Nghrist cyfarfod wna
Trugaredd Duw dilŷth,
A'i bur wirionedd da,
Heb ofni ysgar fyth;
Cyfiawnder glân a heddwch llon
A ymgusanant dan ei fron.

---

**141.** RHAN 3. (ad. 11—13.) 6, 8.

*Gwirionedd yn tarddu o'r ddaear.*

1 DRAW wele Fab y Dyn,
Gogoniant penna'r nef,
Gwirionedd pur ei hun,
O'r dda'r y tardda ef;
Tra'r edrych glân gyfiawnder Iôr
Yn llon o'r nef ar dir a môr.

2 Ei fendith ar ein gwlad
A dywallt Duw dilŷth,
Ac ar ei air ei rad
A ddisgyn fel y gwlith;
Ar fryn a bro mae ffrwythau pêr,
Can's Crist ein Brenin yw a'n Nêr.

3 O'i flaen bob cam yr â
Cyfiawnder glân o hyd;
Par'tôi ei ffordd a wna
I wynfyd nefol fyd,
Yn ol ei draed y sangom mwy,
Gan gofio byth ei farwol glwy'

**142** PSALM 86. (ad. 1—6.) 7au.

*Gweddi am drugaredd a gras.*

1 GOSTWNG Arglwydd Dduw, dy glust
Gwrando fi y truan trist;
Cadw f' enaid gwan, o'th ras,
Achub fi'th annheilwng was.

2 Ynot fy ymddiried sydd,
Arnat llefaf nos a dydd;
Wrthyf bellach trugarhâ,
A fy enaid llawenhâ.

3 Un maddeugar wyt, O Dduw,
Rhyfedd dda i ddynol ryw;
A'th drugaredd sydd yn fawr
I'r rhai'th geisiant ar y llawr.

4 Clyw gan hynny weddi'r gwan,
'R hon ddyrchafaf tua'r lan;
Clust-ymwrando di â'm llef,
A mi'n curo porth y nef.

---

**143.** AIL RAN. (ad. 11, 15—17.) M. H.

*Ceisio trugaredd a gras.*

1 DYSG, Arglwydd mâd, dy ffordd i mi,
A rhodio wnaf dy lwybrau di;
A'm calon ffol O una'n awr
I ofni mwy dy enw mawr.

2 Duw graslawn wyt, trugarog iawn,
Hwyrfrydig fyth i lid y'th gawn;
Mae'th fawr drugaredd fel y môr,
A helaeth yw'th wirionedd, Iôr.

3 O edrych arnaf oddi fry,
A moes i mi'th drugaredd gu;
Dy nerth a'th nawdd rho'n wir i'th was,
Ac achub fi o'th ryfedd ras.

4 Rhyw arwydd er daioni gwna
I'm henaid trist, O Arglwydd da;
Fel y c'wilyddio'r gelyn cas,
Pan welo arnaf waith dy ras.

---

**144.** PSALM 87. 8, 7.

*Sïon, Dinas Duw.*

1 SYLFEINI hon, sef Sïon sydd
Ar gyssegr fynydd uchod;
Ac ar ei phyrth ei serch roes Duw,
Uwch pob rhyw drigfan isod.

2 O ddinas Duw, preswylfa'r Iôn,
Mawr ydyw'r sôn am danat;
A gogoneddus air it' fydd
Pan roir y gwledydd attat.

3 Babel a'r Aipht, d' elynion gynt,
Gwneir hwynt i ti'n gariadus;
Philistia'n wir ddarostwng gras,
Arabia fras a Thyrus.

4 Ei chlod a leinw fro a bryn,
A d'wedir hyn am dani,
Fe anwyd ynddi'r gŵr a'r gŵr,
A Duw fydd noddwr iddi.

5 Lliosog iawn fydd rhif ei phlant,
Ac unant oll i ganu;—
"O Sïon, ynot byth y mae
Fy holl ffynhonnau'n tarddu."

---

**145.** PSALM 81. (ad. 1—8.) 8, 8, 6.

*Myfyrdod ar ddydd Gwener y Croglith.*

1 "FY nefol Dad, Jehofa Dduw,
Sef Duw fy iechydwriaeth, clyw!"
Fel hyn gweddïai Crist:

"Daeth ddydd a nos fy ngwaedd i'r nef,
Fy ngweddi clyw pryd hyn a'm llef,
Moes help i'm henaid trist."

2 Ei enaid sy'n ofidus iawn!
Y cwppan chwerw wele'n llawn!
A brysio mae i'r bedd;
I angau engir ufudd yw,
Y'nghrôg ar groes y trenga'n Duw,
Fel gŵr un nerth na fedd.

3 I'r isaf bwll y syrth i lawr,
I d'wyllwch a dyfnderau mawr,
Dan bwys digofaint Duw;
Môr o gystuddiau'n don ar don,
Ddylifa'n ddidrai dros ei fron,
Am drosedd dynol ryw.

4 Pob câr a chyfaill wedi ffoi,
'Does neb tosturiol atto'n troi,
Yn rhwym mewn bedd rhoir E';
Ein dyled dalodd oll ei hun,
Bendigaid fyddo Mab y Dyn
Am farw yn ein lle.

---

**146.** AIL RAN. (ad. 15—18.) 8, 8, 6.

*Crist yn dwyn ein cosp.*

1 HENFFYCH it' Wr gofidus cu!
Addoli'r ŷm y cariad cry'
Ein cosp a ddug o'r cryd;
Ar ben y bryn ar boenus bren
Yn angau plyga 'nawr ei ben,
Dan angerdd dwyfol lid.

4 Dweyd wrthyf wna, "Ti yw fy Nhad,
Fy Nuw, a Chraig fy iechyd mâd;"
Minnau a'i gwnaf â llawen fryd
Yn Gyn-fab uwch brenhinoedd byd.

5 Fy ngras a fydd ei fythol ran,
A'm hammod wir a'i deil i'r lan;
Sicrhâf ei had byth iddo ef,
A'i orsedd-faingc fel dyddiau'r nef.

---

**150.** RHAN 4. (ad. 30—36.) M. C.

*Parhâd mewn gras.*

1 OS troi o ffyrdd ei ddeddfau'n ffol
Wna meibion Duw un pryd,
Os esgeulusant rodio'n ol
Ei gyfraith lân i gyd:

2 Ymwel'd â'u trosedd wna eu Tad
A'i gerydd llym yn glau,
Nes eu darostwng wrth ei dra'd,
Gan wir edifarhâu.

3 Er hyn ni thyr ei ras un awr
Oddiwrthynt, er eu bai;
Ni phalla mo'i ffyddlondeb mawr
I gadw'i anwyl rai.

4 Ni ddryllia'r ammod gynt a wnaeth,
Ac ni newidia ddim
O'r gair mor dda o'i enau ddaeth,
Fe bery i gyd mewn grym.

5 Fe dyngodd i'w sancteiddrwydd glân,
Gan ddweyd wrth Adda'r Ail,
Dy had a fydd dros byth o'm bla'n,
A'th orsedd fel yr haul.

**151.** PSALM 90. (ad. 1, 2, 4.) 8, 7.

*Tragywyddoldeb Duw.*

1 O BRYD i bryd, O Dduw, tra'r aeth
Pob rhyw genhedlaeth heibio,
Ti fuost ini'n noddfa dda,
Ac yn breswylfa i drigo.

2 Er cyn rhoi sail un mynydd mawr,
A llunio llawr cwmpasfyd,
Ti'n Dduw trag'wyddol wyt cyn neb,
Hyd drag'wyddoldeb hefyd.

3 O'th flaen mae deg can mlwydd fel do',
Pan heibio'r êl eu helynt;
Fel gwylfa nos ar dorriad dydd
Yn d' olwg, Arglwydd, ydynt.

4 O bryd i bryd tra'r êl, O Dduw,
Pob rhyw genhedlaeth heibio,
Bydd etto ini'n noddfa dda,
Ac yn breswylfa i drigo.

---

**152.** AIL RAN. (ad. 5, 6, 10, 12.) 8, 7.

*Breuolder bywyd.*

1 'DYW dyn ond megis hun, neu ail
I addail ar lifeiriant;
Neu megis glas lysieuyn gwan:
Mor fuan y newidiant.

2 Yr hwn y bore'n wyrddlas sydd,
A gwawr o newydd arno;
Ond pan y torrer ef brydnhâwn,
Yn fuan iawn mae'n gwywo.

3 Ein holl flynyddoedd ŷnt saith deg,
Deg chwaneg os bydd cryfder;
Ac yna'n nerth â'n boen blin iawn,
I fedd yr awn ar fyrder.

4 'Duw, dysg ni 'gyfri'n dyddiau gwael,
I'n calon gael doethineb;
A dod in' ras i'w treulio i gyd
Yn hyfryd ffyrdd duwioldeb.

---

**153.** ARALL. M. H.

1 MARWOLAETH, fel rhyw ddirfawr li',
Sy'n 'sgubo ffwrdd ein bywyd ni;
Nid yw ond megis breuddwyd brau,
Llysieuyn gwan a wywa'n glau.

2 I'n hoedran saith deng mlwydd a roed,
Mor frau yw'r oes, mor fyr yw'r oed!
Ac os i wyth deng mlwydd yr awn,
O flinder bydd ein dyddiau'n llawn.

3 Duw, dysg ni wel'd mor frau yw dyn,
Ac estyn etto'n hoes bob un,
Hyd nes cymhwyso gras nyni
I farw'n ddedwydd ynot ti.

---

**154.** RHAN 3. (ad. 14, 15.) 8, 7.

*Ar ol Pregeth.*

1 DIWALLA ni, O Dduw, o'r ne',
Yn fore a'th drugaredd;
Fel byddo ini lawen fyd,
Trwy'n bywyd, a gorfoledd.

2 A nef in' dod ar ben ein taith,
A'n blinder maith a dderfydd;
Yn ol ein dagrau blin a'n pla,
Fel hyn amlhâ'n llawenydd.

**155.** RHAN 4. (ad. 16, 17.) 8, 7.

*Ar ol Pregeth.*

1 GWNA wel'd, Dduw mawr, holl wyrthiau maith
Dy rasol waith i'th weision;
A bydded eglur byth i'w plant
Ogoniant penna'th goron.

2 Ac arnom ni, bob enaid byw,
Prydferthwch Duw a fyddo;
Duw, ynom trefna'th waith yn dda,
A llwydda waith ein dwylo.

---

**156.** PSALM 91. (ad. 1, 3—5.) 8, 7.

*Diogelwch y Cyfiawn.*

1 Y SAWL yn trigo'n wastad sy
Yn lloches gu'r Goruchaf,
Yr hwn sy'n aros ac yn bod
Y'nghysgod Duw sydd bennaf;—

2 O fagl y diafol Duw a'i dwg,
Na chaffo'r drwg ei orfod;
Fe'i gwared ef, ond mawr ei fraint?
Rhag haint echryslon pechod.

3 Ei Dduw gysgoda drosto ef
A'i asgell gref yn gyson;
Dïogel iawn yn wastad fydd
Dan ei adenydd tirion.

4 Gwirionedd Iôn ei fwcled yw,
A Duw sydd darian iddo;
Nad ofno'r nos rhag un rhyw aeth,
Na'r dydd y saeth ehedo.

**157.** AIL RAN. (ad. 9—13.) M.H.D.

*Diogelwch y Credadyn.*

1 OND iti wneud yr Arglwydd Dduw
I ti'n breswylfa, f' enaid byw;
Sef y Goruchaf ar bob un
Yn noddfa dda i ti dy hun;
Un niweid byth ni ddaw i'th ran,
Dïogel fyddi di 'mhob man,
Pob gelyn drwg ymgilia draw,
A phla i'th babell dlos ni ddaw.

2 Gorchymyn i'w angylion mwyn
A'u dwylaw tirion teg i'th ddwyn;
A'th gadw di'n dy ffyrdd, na foed
Wrth garreg byth it' daro'th droed:
Ti sethri'r llew, er gwaetha'i lid,
A'r sarph wenwynig bob rhyw bryd;
Ar greuion genaw'r llew a'r ddraig
Y sengi'n wir, trwy Had y wraig.

---

**158.** RHAN 3. (ad. 14—16.) 8, 7.

*Daioni Duw i'w bobl.*

1 FY mhlant waredaf, medd Duw Dad,
Am roi eu cariad arnaf;
Am iddynt 'nabod f' enw mau,
Yn ddiau fe'u dyrchafaf.

2 Eu gweddi daer ei gwrando wnaf,
Mewn ing y byddaf gydant;
Achubaf hwynt rhag uffern dân,
Cânt gennyf lân ogoniant.

3 Digonaf hwynt â dyddiau hir
O fewn y tir dymunol;
Dangosaf iddynt radlawn faeth,
A'm hiechydwriaeth rasol.

**159.** PSALM 92. (ad. 1—5, 10, 11.) M. H.

*Moli Duw ar y Sabboth.*

1 GWAITH hyfryd iawn a melus yw
Moliannu'th enw di, O Dduw;
Son am dy gariad fore glas,
A'r nos am wirioneddau'th ras.

2 Y Sabboth, hyfryd ŵyl yw hon,
Na flined gofal byd mo'm bron;
Ond boed fy nghalon i mewn hwyl,
Fel telyn Dafydd ar yr ŵyl.

3 Yn Nuw fy nghalon lawenhâ,
Bendithio'i waith a'i air a wna;
Mor hardd yw gwaith dy ras, O Dduw;
A'th gyngor pa mor ddyfned yw!

4 Ar fyr caf ogoneddus ran,
Pan buro gras fy enaid gwan;
Fy holl elynion lleddir hwy,
A'm heddwch ni thyr satan mwy.

---

**160.** AIL RAN. (ad. 12—15.) 8, 7.

*Y Cyfiawn yn blodeuo.*

1 BLODEUA'r cyfiawn tua'r nen,
Fel y balmwydden union;
Cynnydda'n fawr, a brigog fydd
Fel cedrwydd yn Libanon.

2 Y rhai a blannwyd yn nhŷ Dduw,
Yn goedwydd byw y tyfant;
Ac y'nghynteddau ein Duw ni,
Y rhei'ny a flodeuant.

3 Hwy ffrwythant oll mewn henaint llawn,
Y'mhob rhyw ddawn a rhinwedd;
Tirfion ac iraidd iawn i gyd
A fyddant hyd eu diwedd.

4 Fel hyn addysgir dynol ryw
Mai uniawn yw yr Arglwydd;
Mai gwir i gyd yw geiriau'r Iôn
I'r cyfion yn dragywydd.

---

**161.** PSALM 93. 8, 7.

*Gallu a ffyddlondeb Duw.*

1 TEYRNASU mae Jehofa Nêr,
Mewn ardderchogrwydd gwisgodd;
Ymwisgodd Naf yn wir â nerth,
Yn brydferth ymwregysodd.

2 Y byd, na syflo byth o'i le,
Oll ganddo fe sicrhäwyd;
Er trag'wyddoldeb wyt yn bod,
A'th faingc erio'd ddarparwyd.

3 O Arglwydd Dduw, 'r llifeiriaint dig
Yn ffyrnig sy'n ymgodi;
Tyrfau a llif sy'n rhwygo'r llawr,
A thonnau mawr y weilgi.

4 Cadarnach yw yr Arglwydd mau
Yn nhyrau'r uchelderau,
Nâ chedyrn donnau'r môr i gyd,
Na dyfroedd byd a'u tyrfau.

5 Gwir iawn yw'th dystiolaethau gyd,
Sef pob addewid rasol;
Sancteiddrwydd glân a weddai'th dŷ,
O Arglwydd cu, 'n drag'wyddol.

---

**162.** PSALM 94. (ad. 12—15, 22.) M. H.

*Cerydd er lles i blant Duw.*

1 TI, Arglwydd, a geryddi'th blant,
Os gado'th gyfraith lân a wnant;
A'r gŵr a gospech,—gwyn ei fyd,
I ddysgu iddo'th ddeddf i gyd.

2 Caiff hwn fwynhâu dy nawdd a'th hedd,
Mewn dyddiau blinfyd hyd y bedd;
Can's Duw ein Iôr ei bobl ni âd,
Ni wrthyd ef mo'i wir dreftâd.

3 Gwel pawb mai cyfiawn farn a wna,
A dilyn Duw wna pob dyn da;—
Tydi fy amddiffynfa yw,
A chraig fy nodded wyt, fy Nuw.

**163.** PSALM 95. (ad. 1—7.) M. H.

*Galwad i foliannu ac addoli Duw.*

1 O DEWCH, i'r Arglwydd canwn glod,
I'r Duw a'n gwnaeth fel hyn i fod;
Ymlawenhâwn nes clywo'r nef
Yng Nghraig ein iechydwriaeth gref.

2 A diolch deuwn oll o'i fla'n,
A llafar ganwn Psalmau cân;
Jehofa sy Dduw mawr o hyd,
A Brenin mawr uwch duwiau'r byd.

3 Ei eiddo yw dyfnderau'r llawr,
Ac uchel ben pob mynydd mawr;
Fe bïau'r môr, a'r sychdir maith,
A'i ddwylaw'n wir eu llunio wnaeth.

4 O dewch, addolwn Dduw'n gyttûn,
Gan ostwng gliniau bob yr un;
Ei ddefaid ŷm, a'n Bugail yw,
Ac ar ei borfa'r ŷm yn byw.

**164.** PSALM 96. (ad. 1—3, 10. 8, 7.

*Annogaeth i foli'r Arglwydd.*

1 O CENWCH glod i'r Arglwydd mâd,
I'r Iesu, ganiad newydd;
Datgenwch oll trwy'r ddaear fawl
Yr Arglwydd nefawl beunydd.

2 Pe ar adenydd bore-wawr
Y ffown tu draw'r gorllewin;
O'm blaen yn gyflym byddai'th law,
A'th ddeheu-law i'm dilyn.

3 Pe bawn am dynnu llenni'r nos
Yn orchudd dros fy mhechod;
Dy lygad fflamllyd, Iôr, yn chwai,
Oleuai bob rhyw gysgod.

4 Canol y nos, a chanol dydd,
Y ddau it' sydd un ffunud;
Byth na bo im' dy lid gyffrôi,
Gan feddwl ffoi oddiwrthyd.

---

**245.** RHAN 3. (ad. 14—18.) M. H.

*Aml ddoniau Duw i ddyn.*

1 FY sylwedd, Iôr, a welaist ti,
Yn ddirgel iawn pan luniwyd fi;
'Roedd yn dy lyfr bob peth yn llawn,
Cyn bod un gronyn bach yn iawn.

2 Yn rhyfedd ac ofnadwy'm gwnaed,
Dy enw cu ei foli caed!
A da y gŵyr fy enaid fod
Dy waith mor rhyfedd ag yw'th glod.

3 Am hyn mor werthfawr genyf fi
Yw'r meddwl am dy roddion di!
Mae doniau'th ras yn amlach, Iôr,
Na'r tywod mân ar lan y môr.

4 Seliedig ar fy nghalon ŷn',
Pan roddwy'r hwyr i'm llygaid hun;
A daw i'm cof bob bore glas
Aneirif ryfeddodau'th ras.

**246.** PSALM 140. (ad. 6, 7, 12, 13.) M. C.

*Hyderu yn Nuw.*

1 DYWEDAIS wrth yr Arglwydd byw,
Fy unig Dduw wyt ti;
O Arglwydd clyw fy llef yn glau,
I'th glustiau doed fy nghri.

2 Yr Arglwydd yw fy nerth i gyd,
A iechyd f' enaid yw;
Yn nydd y frwydyr gydaf bydd,
A'm pen a gudd fy Nuw.

3 I ddadleu dadl y truan tlawd
Fe ddaw, fel brawd, o'r nef;
Ac uniawn farn i'r rhai'n a rydd,
Y dydd y ceisiont ef.

4 Clodfora'th saint, O Dduw, ar gân,
Dy enw glân i gyd;
A trigo fry yn ddïau gânt
Ym mwyniant nefol fyd.

---

**247.** PSALM 141. (ad. 2—4, 8—10.) M. H.

*Am gymmeradwyaeth a diogelwch.*

1 O DOED fy ngweddi ger dy fron,
Fel arogl-darth, y funud hon;
A chodiad dwys fy nwylaw, Nêr,
Fel y prydnhawnol offrwm pêr.

2 Na âd i'm genau gynneu'th wg,
Na'm calon i lettŷa drwg;
A chadw'm traed rhag myn'd ar hyd
Ffol lwybrau dynion drwg y byd.

3 Gwêl, arnat mae fy llygaid i,
A'm hunig obaith ydwyt ti;
Na âd fy enaid gwan, O Dduw,
Yn ddïymgeledd tra fwyf byw.

4 Rhag pob rhyw rwyd a dan y byd
I faglu'm traed y ffordd ar hyd,
O cadw fi â'th ddeheu-law,
A dwg fi'n iach i'r byd a ddaw.

---

**248.** PSALM 143. (ad. 1, 2, 6, 7.) M. C

*Am faddeuant a gras.*

1 O ARGLWYDD grasol, gwrando'm cri,
A'm gweddi doed o'th fla'n;
Erglŷw fi, o'th wirionedd, Nêr,
Ac o'th gyfiawnder glân.

2 Na ddos di chwaith i farn â'th was,
Ond moes dy ras i mi;
Can's byth ni chyfiawnhêir neb byw,
O Dduw, yn d' olwg di.

3 Fy nwylaw attat rof ar led,
I geisio'th nodded gref;
A'm henaid, fel sychedig dir,
Sy'n wir am wlaw y nef.

4 Fy yspryd balla, clyw fi'n glau,
A'th wyneb tau na chudd;
Rhag i mi fód fel anwir rai
Am fai yn uffern sydd.

---

**249.** AIL RAN (ad. 8—12.) 8, 8, 6.

*Erfyn nodded Duw a'i ras.*

1 PAR imi glywed, Dduw pob gras,
Dy drugarogrwydd fore glas;
Fy ngobaith ynot sydd:
Y ffordd y rhodiwyf dysg i mi,
Oblêid i fynu attat ti
'R edrychaf nos a dydd.

2 Trof attat ti am noddfa'n awr;—
O gwared f' enaid, Arglwydd mawr,
O law'm gelynion ryw;
Dysg imi wneud d' ewyllys bur,
A thywys fi i'r nefol dir,
O herwydd ti yw'm Duw.

3 Er mwyn dy enw mawr bywhâ,
Ac o'th gyfiawnder glân rhyddhâ
O ing, fy enaid gwan;
Ac er dy hen drugaredd rad,
Rho'm cas a'm pechod dan fy nhra'd,
A dal dy was i'r lan.

---

## 250. PSALM 144. (ad. 1—4, 15.) M. H.

*Bendithio Duw am ei ras.*

1 BENDIGAID fyddo Duw fy mhlaid,
A rydd i'm henaid nerth wrth raid;
Rhoi mae ei Air ac Yspryd gras,
I'm gwneud yn arfog ddewr i'r ma's.

2 Fy noddfa a'm trugaredd rad,
Fy nhŵr, a'm mawr Waredydd mad;
Fy nharian hefyd yw fy Nuw,
Ac unig obaith f' enaid yw.

3 Duw, beth yw dyn, a'i fab, yn awr,
Pan wnait o hwn fath gyfrif mawr?
I wagedd tebyg yw, a'i ddydd
Fel cysgod yn myn'd heibio sydd.

4 Gwyn fyd y rhai y daw o'r nen
Fendithion beunydd ar eu pen;
O gwyn eu byd y rasol ryw,
I'r rhai y mae Jehofa'n Dduw.

**251.** PSALM 145. (ad. 1—7.) 8, 7.

*Mawredd Duw.*

1 DYRCHAFAF di tra fyddwyf byw,
Fy Nuw a'm Brenhin nefol;
Bendithio wnaf dy enw di,
A'th foli yn drag'wyddol.

2 Mawr iawn yw'r Iôn, a mawr ei nerth,
Duw prydferth canmoladwy;
A'i fawredd sydd, fel ef ei hun,
I ddyn yn anchwiliadwy.

3 Cenhedlaeth wrth genhedlaeth a
Folianna'th waith rhyfeddol;
Mynegi wnant trwy'r byd i gyd
Am dy gadernid bythol.

4 Gogoniant glân dy fawredd mwy
A draethant hwy a minnau;
Gan sôn am dy weithredoedd mawr,
A'th ryfedd ddirfawr bethau.

5 Mewn cof o'th fawr ddaioni maith,
Ymhob rhyw iaith fe'i traethant;
Ac am dy lân gyfiawnder, Iôn,
A llafar dôn y canant.

---

**252.** AIL RAN. (ad. 8, 9, 14—16.) M. C.

*Daioni Duw.*

1 TOSTURIOL ydyw'r Arglwydd Dduw,
A graslawn yw bob pryd;
O drugareddau mae yn llawn,
Hwyrfrydig iawn i lid.

2 I bawb trwy'r byd anfeidrol dda,
Yw'r Duw deyrnasa fry;
Ac ar ei holl weithredoedd mad
Ei rad drugaredd sy.

3 Yn cynnal mae â'i law ei hun
Bob un ar syrthio sydd;
A'r enaid gostyngedig gwan
A gwyd i'r lan ryw ddydd.

4 Yn disgwyl wrthyt, wrth eu rhaid,
Mae llygaid pob peth, Iôr;
A'u bwyd i bawb a roi'n ei bryd,
Trwy'r dda'r i gyd a'r môr.

5 Dy law ar led agori di,
A'th law eu porthi gwna;
Diwallu'r wyt ti bob peth byw,
O Dduw, â'th 'wyllys da.

---

**253.** RHAN 3. (ad. 17—21.) **7au.**

*Daioni Duw i'w bobl.*

1 CYFIAWN yn ei ffyrdd i gyd
Ydyw Brenhin mawr y byd;
Sanctaidd yw Jehofa Dduw
Yn ei holl weithredoedd gwiw.

2 Agos iawn yw Arglwydd nef
At y sawl a'i ceisiant ef;
Sef at bawb yn galw'n hy
Mewn gwirionedd arno sy.

3 Eu hewyllys Duw a rydd
I'r rhai yn ei ofni sydd;
Gwrendy fry eu llef o hyd,
Ac a'u hachub hwynt i gyd.

4 Enfyn iechydwriaeth fawr
I'r rhai sy'n ei garu'n awr;
Ond yr holl annuwiol rai
A ddifetha am eu bai.

5 Traethaf mwy â llafar dôn
Foliant glân Jehofa Iôn;
A bendithied pawb îs nef
Byth ei enw sanctaidd ef.

**254.** PSALM 146. (ad. 5—8, 10.) M. H.

*Daioni Duw.*

1 GWYN fyd y dyn yr hwn mae Duw
Wrth raid yn borth i'w enaid byw;
A'i obaith da, tra paro'i ddydd,
Yn Nuw Jehofa'n unig sydd.

2 Efe a wnaeth y nefoedd fry,
Y dda'r, y môr, ac ynddynt sy;
A phob gwirionedd in' a roes
A geidw byth o oes i oes.

3 Fe saif mewn pryd i'r gwan yn blaid,
A bara rhydd i'r tlawd wrth raid;
Y flin gydwybod esmwythâ,
A'r carcharorion a ryddhâ.

4 Fe egyr lygaid deillion prudd
I eglur ganfod goleu'r dydd;
Yr isel gwan a gwyd ei hun,
A hoffi mae y cyfiawn ddyn.

5 Yr Arglwydd a deyrnasa byth,
Dy Dduw di, Sion, Iôn dilŷth,
O oes i oes a bery'n fyw.
O molwch oll Jehofa Dduw.

**255.** PSALM 147. (ad. 1—3, 6.) M. H.

*Gofal Duw dros ei eglwys.*

1 MOLWCH yr Iôn, can's da iawn yw
A'r llais a'r galon foli Duw;
O herwydd hyfryd yw ei glod,
Ac yn ddiolchgar gweddus bod.

2 Caersalem, dinas gyflawn fydd,
Ei Duw'n ei hadeiladu sydd;
Gan gasglu Israel oll ynghŷd,
A fu ar wasgar dros y byd.

3 Yr unig Arglwydd sy'n iachâu
Y galon friwiwyd gan ei bai;
Ai holl archollion dolur-lawn
A rwym ei hun yn dirion iawn.

4 Yr Arglwydd yn dyrchafu sy
Yr addfwyn rai i'r nefoedd fry;
Gan ostwng dynion drwg hyd lawr,
A'u gyrru i'r trueni mawr.

---

**256.** AIL RAN (ad. 7—9, 11, 14.) M. H.

*Rhagluniaeth Duw.*

1 CYDGENWCH oll â llafar lef
Ddiolchus gân i'r Arglwydd nef;
E'n toi y nen â'i gwmmwl sydd,
A gwlaw i'r ddaear sych a rydd.

2 Pair wellt i dyfu ar y dda'r,
A'i borthiant i'r anifail gwâr;
A gwrando mae'n dosturiol fry
Ar gywion bach y gigfran ddu.

3 Ein bro'n heddychol iawn a wna,
A'i llanw mae â'r hyn sy dda;
Ei fendith enfyn ar ein tir,
A phortha ni â gwenith pur.

4 Yr Arglwydd sydd yn hoffi'n fawr
Bawb oll a'i hofnant ar y llawr;
A'r sawl yn disgwyl hefyd sy
Ymgeledd ei drugaredd gu.

**257.** RHAN 3. (ad. 4, 5, 15—19.) 8, 7.

*Gallu Duw ar y rhew a'r eira.*

1 YR Arglwydd sydd yn rhifo'r ser,
Eu nifer gŵyr a'u henwau;
Ei nerth sy fawr, a deall Duw
Aneirif yw yn ddïau.

2 Ei lân orchymyn enfyn ef
I lawr o'r nef yn gynnar;
A'i air yn fuan iawn a red
Dros hyd a lled y ddaear.

3 Eira fel gwlân fe wlawia'n dew,
A thaena rew fel lludw;
Eirch iâ, a daw yn defyll cri;
Pwy erys oerni hwnnw?

4 Ei air drachefen ar ei hynt
A bair i'r gwynt och'neidio,
I doddi'r rhai'n; ac felly bydd
I'r holl afonydd lifo.

5 Mynegi mae hoff eiriau'i rad,
A'i farnau mâd i'w bobol;
Efengyl gras i'r enaid cla',
A deddfau tra rhagorol.

---

**258.** RHAN 4. (ad. 12—14, 19, 20.) M. C.

*Bendith Duw ar ei eglwys.*

1 CAERSALEM lân, molianna'r Iôn,
A Sïon, mola'th Dduw;
Dy gadw mae rhag drygau gant,
I'th blant rhydd fendith wiw.

2 Rhoi heddwch hyfryd yn dy fro,
A'th lwyddo'n fawr mae ef;
Diwallu'th eisiau oll a wna,
A manna da o'r nef.

3 Mynega ei efengyl rad,
A'i ddeddfau mâd i'w saint;
Ei farnau mwyn, a'i wyrthiau mawr:
Mor werthfawr yw eu braint!

4 Can's nid fel hyn y gwnaeth yr Iôn
A holl drigolion byd;
Nid adwaen miloedd eiriau'r nef;
O molwch ef i gyd.

---

**259.** PSALM 148. (ad. 1—6.) 8, 7

*Annogaeth i'r nefolion foli Duw.*

1 HALELIWIA, mawl i'r Arglwydd,
Glywer beunydd yn y nen;
Molwch Dduw'n yr uchelderau,
Pell drigfannau'r nefoedd wen:
Molwch ef, ei holl angylion,
A thrigolion gwynfyd glân;
Unwch seintiau a seraphiaid,
A cherubiaid yn y gân.

2 Cwyd yn fore, haul, i'r awyr,
Hyd yr hwyr mynega'i glod;
Yna, leuad, deffro dithau,
A'r planedau yn y rhod:
Sêr yr wybren, disglair fydoedd,
Wrth y miloedd, cenwch fry;
Nef y nefoedd, molwch chwithau,
A'r cymmylau danoch sy.

3 Canant oll y mawl pereiddia'
I Jehofa yn gyttûn;
Crëwyd hwynt â gair ei enau,
Yn y dechreu bob yr un:

Iddynt rhoddes ddeddf ragorol,
  Sy'n wastadol i barhâu;
Ac o'u llwybrau glân ni ŵyrant,
  Ynddynt rhedant heb lesghâu.

---

## 260. AIL RAN. (ad. 7—10.) 8, 7.

*Galwad ar ddaearolion i foli Duw.*

1 BOED i'r ddaear gron ar ce'nfor
  'Nawr mewn cydgor foli Duw!
Dechreu'r gân a wnelo'r eigion,
  A'i drigolion amal-ryw:
Mellt, taranau, fry yn trystio,
  Fo'n dadseinio'i foliant glân;
Tarth ac eira, tân a chenllysg,
  Fyddo'n hyddysg yn y gân.

2 Gwynt ystormus sydd yn gwneuthur
  Ië'n brysur eiriau'r nef,
Dyged hwn dros fryn a mynydd
  Lafar glodydd iddo ef:
Uned bryniau a mynyddoedd,
  A'r dyffrynoedd is y rhod;
Ffrwythlon goedydd, mawrion gedrwydd,
  Oll yn ebrwydd yn ei glod.

3 Holl fwystfilod, anifeiliaid,
  Ac ymlusgiaid araf daith;
Ac asgellog adar awyr,
  Fyddo'n ddifyr wrth y gwaith:
Yn pereiddio'r gân â'u lleisiau
  Clywer seintiau'r ddaear las;
Molant, molant Dduw'n drag'wyddol,
  Am anfeidrol olud gras.

**261.** RHAN 3. (ad. 11—14.) 8, 7.

*Annogaeth i ddynion foli Duw.*

1 CHWI frenhinoedd mawr y ddaear,
Oll yn llafar molwch Dduw;
A'r holl bobloedd aml amrywiaith,
Y'mhob talaith sydd yn byw:
Cenwch, dywysogion difyr,
A holl farnwyr prysur byd;
Holl wŷr ieuaingc, a gwyryfon,
Holl hen ddynion, plant ynghŷd.

2 Molant enw mawr yr Arglwydd,
A'u lleferydd dreiddio'r nef;
Nid oes enw yn odidog,
Ond ei un ardderchog ef:
Ardderchogrwydd glân Jehofa
Ydyw'r harddа' sydd yn bod;
Uwch nâ'r ddaear faith a'r nefoedd
Yn oes oesoedd yw ei glod.

3 Pen ei saint mae'n tra-ddyrchafu,—
Pwy sy'n caru fel efe?—
Can's fe'u cwyd o feddau pechod
I ddiddarfod wynfyd ne':
Pobol agos atto'n ddïau
Yw ei seintiau o bob rhyw;
A'u gwir foliant yw Jehofa,
Haleliwia, mawl i Dduw.

---

**262.** ARALL. (ad. 1—6, 14.) 6, 8.

*Galwad ar bawb i foli Duw.*

1 CHWI fydoedd dedwydd fry,
Dyrchefwch enw'r Iôn;
I Grëydd pob peth sy
Rhowch fawl â llafar dôn:
Seraphaidd ryw, gerubiaid glân,
Traethwch ei glod mewn bythol gân.

2 Ti, haul, oleua'r dydd,
Ti, loer, a lonna'r nos;
Chwi, sêr, o'i hamgylch sydd,
Cyd-folwch Dduw 'mhob o's:
Rhowch iddo fawl, chwi nefoedd fry,
A'r holl gymmylau danoch sy.

3 Addolant Dduw'n gyttûn,
A molant ef ynghŷd,
Trwy rymmus air pa un
Y crëwyd hwynt i gyd;
A pharant oll yn gadarn byth:—
Safadwy yw ei air dilŷth.

4 Dyrchafu mae ei saint
I orseddfeingciau'r nef,
Sef Israel mawr eu braint,
Pobl agos atto ef:
Am hyn cyd-uned pawb îs nen
I'w foli'n bêr fel pawb uwch ben.

---

**263.** PSALM 149. (ad. 1, 2, 4, 5, 9.) 8, 7.

*Mawl i Dduw am ei ddaioni.*

1 I'R Arglwydd cenwch, ac iawn fydd,
Ryw ganiad newydd rhyfedd;
A chlywer y'nghyn'lleidfa'r saint
Ei fawr-fraint a'i orfoledd.

2 Boed Israel lawen iawn a ffraeth
Yn Nuw, a'i gwnaeth yn ddibrin;
A meibion Sïon hyfryd fon'
Yng Nghrist, eu tirion Frenhin.

3 O herwydd hoffa'r Arglwydd Iôn
Ei bobol cyfion odiaeth;
A gwisg y llednais sy'n y llwch
A harddwch iechydwriaeth.

4 I'w saint y bydd gorfoledd iawn
Mewn cyflawn lân ogoniant;
Ac y'ngorphwysfa'r nefoedd wen
Heb orphen byth y canant.

5 Yr ardderchogrwydd hyn a fydd
I'w seintiau sydd yn credu;
Clodforwch oll yr Arglwydd nef,
A molwch ef am hynny.

---

**264.** PSALM 150. (ad. 1, 2, 6.) 7au.

*Annogaeth i foliannu Duw.*

1 HALELIWIA, molwch Dduw
Yn y nefoedd, lle mae'n byw;
Trigfan ei sancteiddrwydd glân,
Lle deffrôir y fythol gân.

2 Uned fry'r ffurfafen gref
Yn y gân a ddechreu'r nef;
A'i dadseinio'n uwch nâ'r sêr
Wnelo seintiau'r byd yn bêr.

3 Mawl i Dduw trwy'r ddaear las,
Moliant rhwydd am wyrthiau'i ras;
Can's mae'n gadarn i iachâu,
Ac yn caru trugarhâu.

4 Rhodded pob creadur byw
Glodydd glân i'r Arglwydd Dduw;
Canwn oll â llafar dôn,
Haleliwia bêr i'r Iôn.

DIWEDD Y PSALMAU.

# HYMNAU.

**1.** *Myfi yw bara y bywyd.* M. C.

Ioan vi. 31—58.

1 ADDOLWN y trag'wyddol Air,
Sy'n porthi'r enaid byw;
Efe yw'r bywiol ddwr a gair,
A bara'r bywyd yw.

2 Y manna ddaeth o'r nen ger llaw,
Ond Crist o'r nefoedd fry;
Oddiyno ffrydiau pur a ddaw
O hedd a chariad cry'.

3 Bu farw'r rhai ga'dd fanna'n hir,
A dw'r o'r graig oedd dda;
Ond Crist, ein Craig, a'r manna gwir,
Y meirw'n fyw a wna.

4 Mawl byth i'r Oen, sy'n rhoi mor rhad
Ei Yspryd Glân i ddyn;
Sy'n meithrin pob credadyn mâd
A'i gnawd a'i waed ei hun.

---

**2.** *Atto ef y bydd cynnulliad pobloedd.* M. H.

1 AED yr efengyl bur i ma's
Dros holl derfynau'r ddaear las;
Nes elo'r Iesu'n ben trwy'r byd,
A chyrchfa'r bobloedd atto' i gyd.

2 Dyrchafer Iesu felly'n fawr,
A chwymped yr eilunod lawr;
Ac na boed enw'n glodfawr mwy,
Ond enw'r hwn ga'dd farwol glwy'.

3 Tydi'r hwn sydd, a fydd, ac o'dd,
O llwydda'th weision i wahôdd;
Na foed distawrwydd ar eu cri,
Nes llanw'th dawel demel di.

---

**3.** *Wele y gauaf a aeth heibio.* M. C.

Can. ii. 11, 12.

1 AETH heibio'r gauaf chwerw, du,
Yr eira oer a'r gwlaw;
Cyfododd Haul Cyfiawnder cu,
Mae hinon dda ger-llaw.

2 Fry yn ffurfafen eglwys Dduw,
Ei oleu disglair sy,
Yn troi cystuddiau chwerwa'u rhyw,
Yn hyfryd hedd i ni.

3 Mae blodau ar y dda'r yn llawn,
Grasusau pur y nef,
Oll yn arogli'n beraidd iawn,
Oddiwrth ei wisgoedd ef.

4 Llais durtur yr efengyl fwyn,
Sy'n dadsain bro a bryn;
A phobloedd byd, fel adar mân,
Ddyrchafant gân am hyn.

---

**4.** *Erfyn nerth gan Grist.* M. C.

1 AF at yr orsedd fel yr wyf,
Anfeidrol orsedd gras;
Datguddiaf yno 'nghlwyfau maith,
A'm holl archollion cas.

2 'Da'i 'mofyn haeddiant mwy, na nerth,
Diddanwch im', na hedd,
Ond ynddo ef, a gwyd fy llwch
Yn fyw o byrth y bedd.

3 Mae'n eistedd ar ddeheulaw'r Tad,
Ar orsedd fawr y nef;
Ac mae y cyfan sydd mewn bod
Tan ei awdurdod ef.

4 O anfon d' Yspryd sanctaidd pur,
Nertha'm blinedig dra'd;
A rho im' olwg oleu glir
Ar hyfryd dir fy ngwlad.

---

5. *Ar agoriad Eglwys.* M. H.

1 A FYDD i'r Duw trag'wyddol mawr
Sefydlu'i drigfan ar y llawr?
Ac o'i orseddfaingc ddisglair fry
Arddel ein temlau iddo'n dŷ?

2 O Arglwydd, disgyn lawr o'r ne',
A'th bresennoldeb llanw'r lle!
A chyd â'th air aed gallu ma's,
I lonni'th blant, a maeddu'th gas.

3 Ac yn y dydd mawr ola'i gyd,
Pan farno'th Fab holl bobloedd byd,
O caffer gwel'd fod yma lu
A aned i'r gogoniant fry.

---

6. *Mawr ddioddefaint Crist.* 8, 8, 6.

1 A I Iesu, cyfaill dynol ryw,
A wela'i fry a'i gnawd yn friw,
A'i waed yn lliwio'r lle;
Fel gŵr di bris yn rhwym ar bren,
A'r gwaed yn dorthau ar ei ben?
Ië, f' enaid, dyma fe.

2 Ai'm hanwyl Briod wela'i draw,
A hoelion llymion trwy bob llaw,
A'u pwyo'n drwm i dre',
A bàr o ddur trwy'i dirion draed,
Ac ynteu'n marw yn ei waed?
Ië, f' enaid, dyma fe.

3 Ai fe fu'n maddeu'n rhad i'w gas,
A'i waed fel llif o'i glwyfau ma's,
Nes agor drws y ne',
Sy'n plygu'i ben gan boenau llym,
Yn wirion deg, heb yngan dim?
Ië, f' enaid, dyma fe.

---

7. *Yr Arglwydd a gysura Sion.* 8, 8.

Esay li. 2, 3.

1 AM ddaioni Duw i Sion
Canwn lafar glod yn gysson;
Ei rad iddi a'i drugaredd
Haeddant foliant yn gyfannedd.

2 'Doedd ei theulu dros hir amser
Ond ychydig iawn o nifer;
Ond ei Phriod a'i bendithiodd,
Fel mae'n awr yn fam llaweroedd.

3 Canfu Sion amser adfyd,
Ond ceiff weled dyddiau gwynfyd;
Rhydd yr Arglwydd gysur rhyfedd
I'w holl leoedd anghyfannedd.

4 Gwna fel Eden ei hanialwch,
Fel gardd ffrwythlawn ei diffaethwch;
Gwir orfoledd a llawenydd
A geir ynddi yn dragywydd.

5 Brysia, brysia, Arglwydd Iesu,
Ddyddiau hafddydd dy ddyweddi;
Disgwyl wrthyt mae'r ynysoedd,
Yr Iuddewon a'r Cenhedloedd.

---

8. *Perffaith Iawn.* 10au.

1.

AM ddwyfol Iawn, a hynny'n llawn a llwyr,
Mae'n cân o hyd, o fore hyd yr hwyr;
O D'wysog nen! byth ar ei ben y bo
Y mawl am hyn, gan bawb mewn bryn a bro.

2.

Fe hoeliwyd draw y 'sgrifen-law ar led,
Nid oes un twyll, y didwyll air a'i d'wed;
Mae groesaw 'nawr, er beiau mawr a mân,
I rai fel ni, trwy ffydd ymlynu 'mla'n.

3.

Nis traethir faint y fraint i'r saint y sydd
Trwy rin y gro's yn dyfod nos a dydd;
Cânt bob rhyw ddawn, eu bwrdd yn llawn, a llwydd,
Ac hefyd hyn, glân Geidwad yn ei gŵydd.

---

9. *Ymlawenhâu yn Nghrist.* 6, 4.

1 AM eni Crist ein Craig,
I sigo pen y ddraig,
Cyd-lawenhâwn;
Mewn cof o hyd bo'r dydd
Y daeth i'n rhoddi'n rhydd,
Moliannwn ef mewn ffydd,
O cyd-fawrhâwn.

2 I bawb o ddynol-ryw,
O newydd hyfryd yw
Doeth drefn ei ras!

Cael Iesu yn y cnawd
Yn Frenin ac yn Frawd,
I'n dwyn o'n lle tylawd
Yn isel was.

3 Rhyfedd ei gariad ef
Enneiniog mawr y nef,
Tuag attom ni;
I'w gyfraith lanwaith lun,
Er mwyn pardynu dyn,
Fe roddodd ef ei hun
Ei waed yn lli'.

4 Gogoniant rhown ar gân
I'r Drindod heb wahân,
Yr Un yn Dri;
I'r Tad am greu y byd,
I'r Mab am brynu'n ddrud,
A'r Yspryd Glân ynghŷd,
Rhown barch a bri.

---

**10.** *Cariad Crist.* M. H.

1 ANFEIDROL felus yw dy hedd,
A chryf yw'th gariad fel y bedd;
Lle ceraist ti, 'does dŵr na thân,
Nac unrhyw rwystyr saif o'th fla'n.

2 Dy gariad neidiodd uchder mawr
O faith eithafoedd nef i lawr;
A dwg yn hyfryd yn ei wedd
Ryw beth ag sydd yn maeddu'r bedd.

3 O! mae dy gariad mawr ei rin,
Yn llawer gwell nâ'r melus wîn;
Fe ddwg, fe g'od fy enaid gwan
O ddyfnder ofnau mawr i'r lan.

**11.** *Iachawdwriaeth trwy Grist yn unig.* 7, 6.

1 ANGYLION glân yn gysson,
Rifedi gwlith y wawr,
Ro'nt eu coronau auraidd
O flaen y faingc i lawr;
A chwariant eu telynau
Ynghŷd â'r saint yn un,—
Ond byth ni chanant ddigon
Am Dduwdod yn y dyn.

2 Ni f'asai gennym obaith
Am ddim ond fflammiau syth,
Y pryf nad yw yn marw,
A'r t'wyllwch dudew byth;
Ond b'asai'r hwn a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari,
O ryw anfeidrol gariad
I gofio am danom ni.

3 Ti Farnwr byw a meirw,
Sydd ag allweddau'r bedd,
Terfynau eitha'r ddaear
Sy'n disgwyl am dy hedd:
'Dyw gras i ti ond gronyn,—
Moes ras ar hyn o bryd,
Ryw filoedd maith o weithiau
I ni fo'n well nâ'r byd.

---

**12.** *Y byd yn llawn diffygiadau.* 8, 7.

1 ANIAL dyrus wyf fi ynddo,
Yn ymdeithio'n wael fy llun;
Chwilio'n ddyfal am le tawel,
Etto methu c'wrdd ag un:

Chwilio'n fanwl am felusder
Mewn pleserau gweigion iawn;
Ond caf chwerwedd yn fy nghwppan,
Cyn y byddo'n hanner llawn.

2 O fy enaid, chwilia'n ddyfal
Am drysorau canmil gwell,
Nag a fedda'r greadigaeth,
Allaf ddwyn i'r wlad sydd bell:
Nid oes dim ond twyll a gwagder
Yn y cyfan dan yr haul;
Nid oes dim a leinw'm henaid
Ond trysorau Adda'r Ail.

---

**13.** *Ar ddechreu blwyddyn.* 8, 8, 6.

1 ANNHRAETHOL wynfyd, echrys wae
Ar edau bywyd gorphwys mae,
Er byrred yw ei hyd;
Fy nefol Dad yn unig ŵyr
A dreulia'i'r flwyddyn hon yn llwyr,
Cyn bo i'm newid byd.

2 Os 'dwy'i'n ffordd distryw, dan dy ŵg,
Dysg i mi ddewis ffordd a'm dwg
I'r nef, o'r byd a'r bedd;
Llwyr olch a maddeu 'meiau, O Dduw,
A dyro im' y fraint o fyw,
A marw yn dy hedd.

---

**14.** *Ar fore'r Sabbath.* 7au.

1 AR ein ffordd trwy'r anial fyd
Dygaist ni hyd yma'n fyw;
Anfon fendith ini gyd
Ar y Sabbath hwn, O Dduw:

Dydd o'r saith yn oreu sy,
Cysgod o'r orphwysfa fry.

2 Trugareddau bob yr awr
Alwant am ein mawl i ti;
Cedwaist ni â'th allu mawr,
Yn haelionus porthaist ni:
'Nawr oddiwrth y byd yn rhydd,
Treuliwn iti'r sanctaidd ddydd.

3 Yma'n dawel yn dy dŷ
Rho in' brofi'th hyfryd hedd;
Llanw ni â'th gariad cu,
Gad in' wel'd dy siriol wedd:
A'n Sabbathau bob yr un
Font fel rhan o'r nef ei hun.

---

**15.** *Y gwenith a'r efrau.* M. H. D.

Mat. xiii. 24—30.

1 AR faes ein daear isel dir
Gwasgarwyd deuryw hâd yn wir;
Lle'r hauodd Crist ei wenith cu,
Ei elyn fwriodd efrau lu:
Y ddau a dyfant yma 'nghyd,
Nes delo barn ar deulu'r byd;
Ac engyl gwynion teg eu gwawr
I alw i mewn gynhauaf mawr.

2 Ystyria, f' enaid, beth a fydd
Dy gyflwr di pan ddelo'r dydd;
Rhag bod yn un o'r chwerwon chwyn,
Sy'n tyfu 'mhlith y gwenith gwyn:
O cofia'n ddwys na thâl it' ddim,
Ond crefydd gywir yn ei grym,
Pan ddelo gwynion feibion gwawr
I alw i mewn gynhauaf mawr.

**16.** *Y byd yn fôr tymhestlog.* M. C.

1 AR fôr tymhestlog teithio'r wy',
 Lle garw enbyd yw;
Lle soddodd myrdd, a llawer mwy,
 A mi trwy ras yn fyw.

2 Llaw Duw a'm daliodd i i'r lan,
 Uwch tonnau mwy nâ rhif;
Pan lawer gwaith bu f' enaid gwan
 Bron soddi dan y llif.

3 Rho olwg ffydd im' wel'd trwy bwyll
 Ofnadwy dwyll y byd;
Mai cyfnewidiol iawn yw dyn,
 Ond Duw yr un o hyd.

---

**17.** *Ceisio arweiniad ysprydol, &c.* 8, 7, 4.

1 ARGLWYDD, arwain trwy'r anialwch,
 Fi bererin gwael ei wedd;
Nad oes ynof nerth na bywyd,
 Fel yn gorwedd yn y bedd:
Hollalluog, &c.
Ydyw'r un a'm cwyd i'r lan.

2 Colofn dân y nos i'm tywys,
 Colofn niwl bydd im' y dydd;
Dal fi pan bwy'n teithio'r mannau
 Geirwon yn y ffordd y sydd:
Rho i mi fanna, &c.
Fel na bwyf i lwfwrhâu.

3 Agor y ffynhonau melys,
 Sydd yn tarddu o'r graig i ma's;
'Rhyd yr anial maith canlyned
 Afon iechydwriaeth gras:
Rho i mi hynny, &c.
Dim i mi fel dy fwynhâu.

4 Pan bwy'n myned trwy'r Iorddonen,
Angau creulon yn ei rym;
Aethost trwyddi gynt dy hunan,
Pa'm yr ofnaf bellach ddim?
Buddugoliaeth, &c.
Gwna im' waeddi yn y llif.

---

**18.** *Llefared yr Arglwydd.* 8, 7, 3.

1 ARGLWYDD, danfon dy leferydd
Heddyw yn ei rwysg a'i rym;
Dangos fod dy air yn gryfach
Nag all dyn wrthsefyll ddim:
Dos y'mla'n, nefol dân,
Cymmer yma feddiant glân.

2 Tyred allan yn dy arfau
O balasau têg y ne';
Achub bwrcas dy oddefaint,
Fe'n distrywir onid ê:
Mawr yw'r llid sy'n y byd
I orchfygu'n henaid drud.

3 Tyred bellach, tyr'd yn ebrwydd,
Ac anadla'r gwyntoedd cryf,
Sydd yn nerthu'r pererinion
I wynebu'r gâlon hyf:
Gan wneud grym satan llym,
Mewn munudyn fyn'd yn ddim.

---

**19.** *Y Colect ar ddydd Enwaediad Crist.* 8,7,4.

1 ARGLWYDD Dduw, yr hwn a wnaethost
I'th fendigaid Fab dy hun
Dderbyn gynt Enwaediad gwaedlyd,
A myn'd dan y ddeddf dros ddyn;
Moes i ninnau, &c.
Iawn enwaediad d' Yspryd Glân.

2 Fel y bo i'n holl aelodau,
A'n calonnau ffol i gyd,
Wedi eu marweiddio'n hollol
I anwydau'r cnawd a'r byd,
Roi y'mhob peth, &c.
It' ufudd-dod trwy dy Fab.

---

**20.** *Wrth ymadael.* 8, 7.

ARGLWYDD, gollwng ni dan fendith,
Rho dy heddwch dan ein bron;
Portha'n henaid â'r gwir fanna,
Ac â'th gariad cynnes llon:
Llanw'n calon â chysuron,
Llanw'n genau â dy glod;
Dwg ni oll i'r nef i'th foli,
Tra bo'r nefoedd wen yn bod.
*Canwn haleliwia i Dduw ac i'r Oen,*
*Dros oesoedd diddarfod,*
*Dros oesoedd diddarfod,*
*Haleliwia, Haleliwia, Haleliwia. Amen.*

---

**21.** *Erfyn bendithion ysprydol.* 8, 7, 4.

1 ARGLWYDD grasol, dyma oedfa
Wedi'i rhoddi'n awr i ni,
I foliannu a gweddïo,
Ac i geisio'th wyneb cu:
Rho dy Yspryd, &c.
I dy geisio di trwy ffydd.

2 Tyred, Arglwydd, i'n cyfarfod,
Tyn y gorchudd, rhwyga'r llen;
Gwlawia yma dy fendithion
Yn gawodydd fry o'r nen:
Nefol awel, &c.
Chwythed yma'r oedfa hon.

3 Dyro ini yn yr oedfa
Olwg newydd ar dy wedd;
Tân dy gariad yn ein calon,
Fel bo'i yma'n nefol wledd:
Nefoedd yma, &c.
Ydyw gwedd dy wyneb cu.

---

**22.** *Ceisio arwydd er daioni.* 8, 8.

Psalm lxxxvi. 17.

1 ARGLWYDD, llefaf arnat beunydd,
Am wirionedd yn fy nghrefydd;
Tua'r bedd o hyd 'r wy'n tynnu,
Gwna im' arwydd er daioni.

2 Synwyr cryf a mawr wybodaeth,
Cyfoeth bydol a dysgeidiaeth;
Moddion gras, a dim ond hynny,
Nid ŷnt arwydd er daioni.

3 Beth dâl proffes, heb adnabod
Edifeirwch am fy mhechod?
Wylo dagrau, heb alaru,
Nid yw arwydd er daioni.

4 O am yspryd gostyngedig,
Calon friw yn prisio'r Meddyg,
Bywyd gweddaidd, ysbryd gweddi!
Hyn fydd arwydd er daioni.

---

**23.** *Deisyf cymmorth Duw.* 8, 7, 4.

1 ARGLWYDD, oni ddarfu 't' addo,
Man lle byddo dau neu dri
Wedi 'mgynnull yn dy enw,
Mai i'r canol y deu't ti?
Disgwyl wrthyt, &c.
'Nol d' addewid, yr ŷm ni.

2 Dyro gymmorth 'nawr i wrando,
A chyhoeddi etto i ma's
Ddyfnder calon dyn truenus,
Ac anfeidrol olud gras;
Fel bo dyfnder, &c.
Byth am ddyfnder yn cael sôn.

---

**24.** *Ymhyfrydu yn y groes.* 6, 4.

1 A RHOSAF ddydd a nos,
Byth bellach dan dy gro's
I'th wir fwynhâu:
Mi wn mai'r taliad hyn,
Wnaed ar Galfaria fryn,
A'm canna i oll yn wyn
Oddiwrth fy mai.

2 Yn nyfnder dwr a thân,
Calfaria fydd fy nghân,
Calfaria mwy:
Y bryn ordeiniodd Duw
Yn nhrag'wyddoldeb yw,
I godi'r marw'n fyw,
Trwy farwol glwy'.

---

**25.** *Ymledaniad yr Efengyl.* 6, 8.

1 A SAIN efengyl gras
Dros gyrrau'r dda'r i gyd,
Bydd enw Iesu mawr
I lanw hyn o fyd;
Teyrnasoedd byd a ddônt yn llu
Ar fyr yn eiddo'n Harglwydd ni.

2 Daw Indiaid heb ddim rhif,
A chaethion du eu gwawr,

I 'mofyn trysor gwell
Na welir ar y llawr;
Er dued ŷnt, fe'u gwneir yn lân,
Ac oll mor wyn a'r eira mân.

3 Wel, dos efengyl fwyn
I gonglau pella'r byd,
Na foed un ardal mwy
Heb iechydwriaeth ddrud:
Dychwel Baganiaid gwyn a du,
Ac aros hefyd gyda ni.

---

**26.** *Nerth a gras yng Nghrist.* M. C.

1 AT wedd dy wyneb nid yw ddim
Drysorau maith y byd;
Mae gair o'th enau'n fwy ei rym
Nag uffern fawr i gyd.

2 Gelynion fyrdd orchfygaist ti,
Trwy oddef angau loes;
Angau, a'r bedd, ac uffern ddu,
Sy'n hongian wrth dy groes.

3 Dy allu yw fy nerth a 'ngrym,
Yn d' allu byddaf byw;
'Rwy'n wan a llesg, ni allaf ddim,
Un funud, heb fy Nuw.

4 O tyred, Arglwydd, saif yn gry'
O blaid fy enaid gwan;
Mi soddaf mewn dyfnderoedd du,
Ond ddeli di fi'r lan.

5 Ond nerth dy ras sy'n llawer mwy
Nâ'm beiau oll o'r bron;
A'th hyfryd wên sy'n abal lladd
Yr ofnau dan fy mron.

**27.** *Deuwch i'r dyfroedd.* M. C.

1 AWN, bechaduriaid, at y dwr,
  A darddodd ar y bryn;
Ac ni gawn yfed fyth, heb drai,
  O'r afon loyw hyn.

2 Mae yma drugareddau'n rhad,
  I'r tlawd a'r llariaidd rai;
A rhyw fendithion maith yn stôr,
  Sydd fythol yn parhâu.

3 'Does yma eisiau fyth yn bod,
  Trysorau gras yn llawn,
Er maint yw'r yfed a'r glanhâu
  Sydd fore a phrydnhâwn.

---

**28.** *O flaen y Cymmun.* 8, 7.

1 BARA'r Bywyd, draw a dorrwyd,
  Mewn trugaredd, drosom ni!
Gwîn yr enaid, a dywalltwyd
  Mewn anfeidrol ras yn lli'!
Gan yr hwn y traethwyd geiriau
  Bywyd gwell y nefoedd wen;
Ac yn angau'r hwn rhoed angau
  I'n pechodau ar y pren.

2 E[illegible] ar y galon ddrylliwyd
  [illegible] blinder, am ei bai;
[illegible] y dagrau gollwyd
  [illegible]eddwyr, aflan rai:
[illegible] dy wledd i'n genau
  [illegible]es îs y nen,
[illegible]rthir ein heneidiau
  [illegible] o'r nefoedd wen!

**29.** *Hunan-ymholiad.* 8, 7.

1 BARNA'n gyflawn beth yw'th gyflwr,
O fy enaid! a pha nôd
Wyt ti'n ddwyn i'r mwyn Waredwr
Gael dy gariad di erio'd:
A ennillodd ef yn hollol
Dy serchiadau gore'i gyd,
Gan d' ogwyddo yn drag'wyddol
Idd ei brisio'n fwy nâ'r byd?

2 P'un ai llygredd brwnt a rhagrith
Sy'n teyrnasu ynot 'nawr,
Neu anfeidrol gref lywodraeth,
Deg a mwyn dy Arglwydd mawr?
Beth yw'th ddiben pennaf beunydd,
Yn dy holl grefyddol waith,
Llesu'r cnawd, neu ledu crefydd?
Chwilia mewn i'th giliau maith.

3 Os heb Grist, a'r Yspryd grasol
Yn dy buro, 'r wyt ti'n byw,
Byth ni weli'r parthau nefol,
Byth ni feddi deyrnas Dduw:
O am gael amlygiad eglur,
Anwyl Dduw, o'th nefol hedd!
Yna deled poen a dolur,
Af o'm bodd i byrth y bedd.

---

**30.** *Gwagedd y byd.* M. H.

1 BETH dâl im' roddi'm serch a'm bryd
Ar ddim a wela'i yn y byd?
Da, daear, dyn, pa gysur yw
Y dydd y dêl digofaint Duw?

2 Och ! pwy a rodda'i bwys ar ddyn,
Sy'n llesg a gwan fel corsen grin ?
Ar beth mor frau pwy rodda'i fryd ?
Plant Adda, gwagedd ŷnt i gyd.

3 Byr iawn yw'r pleser sydd îs haul,
Ar ol ei gael trwy boen a thraul ?
Fel mellten fe ddiflanna'n llawn,
Gwna, cyn cael gafael arno'n iawn.

---

**31.** *Genedigaeth Crist.* M. B. D.

1 BLANT ffyddlon Sïon, dewch,
A llawenhêwch i gyd ;
Y'mlaen â ni fel milwyr da,
Yn llon er gwaetha'r llid :
O hyfryd ddedwydd awr !
Messïa mawr a ga'd ;
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iechydwriaeth rad.

2 Er ini golli'r hedd
Gynt ym mharadwys wiw,
A bod yn fyr o gadw'r fraint,
Myn'd dan ddigofaint Duw ;
Ni gawsom Had y Wraig
Yn gadarn graig i'n tra'd ;
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iechydwriaeth rad.

3 I'n gwared daeth ein Ffrynd,
Pan oe'm ni'n myn'd ar goll,
Mae pob cyflawnder ynddo ef
Yn trigo oll yn oll :

Can's felly'r Oen di-nam
A wnaethpwyd gan y Tad:
Henffych i'r dydd a'r bore daeth
Yr iechydwriaeth rad.

---

**32.** *Dymuniad am gariad brawdol.* 8, 7.

1 BOED cariad brawdol cywir, brwd,
Fel llydan ffrwd yn llifo
Trwy Salem deg, preswylfod Duw,
Gan daenu'n ddiluw yno.

2 Ei ffrydiau gloywon, hyfryd, glân,
Ddiffoddo'r tân uffernol,
Sydd weithiau'n llosgi'n wyllt ei wedd,
Gan ddifa'n hedd crefyddol.

3 Cyfeillach sanctaidd, siriol, sydd
Fel gwlith ar feusydd gleision;
Mae'n lledu hedd a llwyddiant hir
'Mysg holl breswylwyr Sïon.

4 Brawdgarwch mwyn ac undeb maith
Yn hyfryd waith ein Harglwydd,
Sydd addas iawn i'r ddinas hardd,
A'r tŷ lle tardd sancteiddrwydd.

---

**33.** *Rhinwedd Gwaed y Groes.* 8, 8.

1 BRAWD fu farw ar Galfaria,
I droseddwyr gael dihangfa;
Fe â myrdd i wledydd gwynfyd
Trwy farwolaeth fy Anwylyd.

2 Ffynnon loyw darddodd allan
Ar y groesbren i rai aflan;
Rhinwedd hon wna'r rhai ffieiddia'
Cyn bo hir mor wyn a'r eira.

3 Maes o law bydd torf aneiri'
Yn y nef a'u cân am dani;
Oll a'u tannau am y tynna'
'N hyfryd seinio Haleliwia.

---

**34.** *Angau ac eiriolaeth Crist.* 2, 8.

1 BRYDNHAWN,
Ar y ddedwyddaf awr a gawn,
Y talodd Iesu'n eithaf llawn,
Y ddwyfol iawn i'm hanwyl Dad;
Palmentodd ffordd o Galfarî
I'r nefoedd fry trwy rin ei wa'd.

2 Mae'n awr
Yn eistedd ar ei orsedd fawr,
Yn Arglwydd uffern, nef, a llawr,
Hyd fore wawr adg'odiad ddydd;
Pan ollwng ei ddyweddi ddrud
O lwch y byd yn berffaith rydd.

3 Nid oes,
Ni fu, ni ddaw, mewn unrhyw oes,
O gymmaint gwerth a gwaed y groes,
Y ddwyfol loes oddefodd ef;
O gariad mawr, diderfyn stôr,
Sydd fel y môr mewn byd a nef!

---

**35.** *O flaen Pregeth.* 6 llin. 8au.

1 BYDD di'n y canol, Arglwydd mawr,
I wrando'th air rho ras yn awr;
I dderbyn trwy addfwynder llawn,
A chredu'th wirioneddau'n iawn:
Dy fendith moes, dy Fab er mwyn,
A llwydda'n fawr d' efengyl fwyn.

2 I'r galon gyr dy eiriau cu,
A grym effeithiol oddi fry;
A phâr in' roi ufudd-dod ffydd
I'th air i gyd tra paro'n dydd:
Dy fendith moes, dy Fab er mwyn,
A llwydda'n fawr d' efengyl fwyn.

3 Datguddia'th Fab ym mawr a mân,
A dysg ni wneud d' ewyllys lân;
Amlyga'th rym a'th gariad rhad,
Ac arwain ni i'r nefol wlad:
Dy fendith moes, dy Fab er mwyn,
A llwydda'n fawr d' efengyl fwyn.

---

**36.** *Brenin Sïon yn dyfod.* 8, 8, 8.

Zech. ix. 9, 10. Mat. xxi. 4, 5, 9, 13.

1 BYDD lawen, Sïon, daeth y dydd
It' gael o'r diwedd fyn'd yn rhydd;
Wele dy Frenin mawr yn dod!
Y cyfiawn a'r trag'wyddol Dduw,
A gwir Iachawdwr enaid yw;
Nid oes mor addfwyn ag E'n bod.

2 Efe deyrnasa dros y byd,
A gwna'i elynion oll i gyd
I blygu i lywodraeth Iôr:
Holl arfau rhyfel ddryllia'n friw,
Sefydla hedd rhwng dyn â'i ryw,
Rhwng dyn a Duw o fôr i fôr.

3 Hosanna i Fab Dafydd byth!
Sy'n d'od yn enw Duw dilŷth,
Hosanna yn y nefoedd fry!
Boed calon pob dyn dan y nef
Yn demel sanctaidd iddo ef,
Tŷ gweddi daer a mawl fo hi.

**37.** *Hiraethu am y nefoedd.* 6, 8.

1 CAERSALEM, dinas hedd,
O na bawn yno'n byw!
O hyd cawn weled gwedd
A llewyrch wyneb Duw:
Mae weithiau'n dywyll arna'i 'nawr,
Fy haul nid â byth yno i lawr.

2 Caf wel'd f' Anwylyd cu,
Pan elwyf draw i dre',
Yr hwn, o'i gariad, fu
Yn goddef yn fy lle;
Caf wel'd yr Iesu, digon yw,
Mae'r Oen a laddwyd etto'n fyw.

---

**38.** *Iachawdwriaeth o ras.* 8, 7.

Titus iii. 4—9.

1 CANMOLWN ryfedd gariad Duw
At ddynol ryw mewn adfyd;
Trwy roi ei anwyl Fab yn fwyn
Er mwyn eu dwyn i wynfyd.

2 Nid trwy'n gweithredoedd goreu ni
Gwna'r Iesu cu ein cadw;
Ond tywallt wna ei werthfawr wa'd,
A golch ni'n rhad yn hwnnw.

3 Ei Yspryd Glân yn helaeth rhydd
I'n hadnewyddu beunydd;
A gwna ni'n blant i'r Arglwydd Iôn,
Ac etifeddion dedwydd.

4 Trwy Grist mae Duw yn maddeu bai
Yn rhwydd i'r rhai sy'n credu;
Gan fod yn ufudd tra font byw
I'r Prynwr gwiw a'i garu.

5 Cadwedig fyddant oll trwy ras
Fry mewn urddasol wynfyd;
Y'mhlith y saint sy'n wych eu gwedd
Mewn annedd nefol hyfryd.

---

**39.** *Teyrnas Crist.* 10au.

1.

CENHADAU hedd, mewn efangylaidd iaith,
Sy'n galw i'r wledd, dros fôr yr India faith;
Caiff caethion fyrdd, a'r dynion dua'u lliw,
Barbariaid lú, eu dwyn i deulu Duw.

2.

Haul ydyw Crist, rydd lewyrch gras ar led,
Ei gylch a'i wres, trwy'r anial dir a red;
Cenhedloedd pell, wynebant ar y nef,
Dan lawenhâu, pan ymddangoso ef.

3.

Daw Israel Duw, er gwaeled yw eu gwawr,
Yn hardd eu lliw, i'r lan o'r cystudd mawr;
Gorchfygu wnant, bob gelyn cyndyn cas,
A chanu gânt, dros fyth am ddwyfol ras.

---

**40.** *Ffyddlondeb Duw.* 8, 7.

1 CLODFORWCH bawb ein Harglwydd Dduw,
Doed dynol ryw i'w ganmol;
Ei hedd, fel afon fawr ddi drai,
Gaiff ddyfyrhâu ei bobol.

2 Ei air a'i ammod cadw wna,
Byth y parhâ'i ffyddlondeb,
Nes dwyn ei braidd o'u poen a'u pla
I hyfryd drag'wyddoldeb.

3 Ni newid ef, er gweled bai
O fewn ei rai anwyla';
Byth cofia waed Tywysog nen,
A'i boen ar ben Calfaria.

4 Pan ballo cymmorth pawb a'u hedd,
Duw, o'i drugaredd odiaeth,
Yn Dad, yn Frawd, yn Briod fydd,
Ar gyfyng ddydd marwolaeth.

---

**41.** *Wrth ymadael.* 8, 7.

1 CLODFORWN di, ein Ceidwad da,
Cyn myn'd oddiyma ymaith;
A rhown ein hun y funud hon
I'th ofal tirion odiaeth.

2 Pan ŷm y naill oddiwrth y llall,
A chyda'r anghall hefyd;
Y Bugail da, O gwilia di
Ein henaid ni bob ennyd.

3 Pan fyddom bell oddiwrth dy blant,
Rho ini fwyniant hyfryd
O'th bresennoldeb di, ein Duw,
Trwy'n hamryw lwybrau enbyd.

4 O am gyfarfod wrth dy wŷs
Tu fewn i'r llys trag'wyddol;
A gorphwys oll ar Sabbath gwell
Fry yn dy babell nefol!

---

**42.** *Ar ddechreu blwyddyn.* 8, 7.

1 CLODFORWN ein Cynhaliwr fyth
Am ei fendithion amal;
Profasom hyd y funud hon
Ei ryfedd dirion ofal.

2 Pob haf a gaua'r ŷm yn cael
Ei fwynaidd hael ddaioni;
A cha's y llynedd oll o'i bron
A'i roddion ei choroni.

3 Os arbed y Gwinllanydd da
Ei brennau tra anfuddiol;
O dygwn leni gyflawn lwyth
O beraidd ffrwyth rhagorol.

4 Bendithia ni, O Dduw, yn awr,
A dirfawr rasol lwyddiant;
A phlanna ni'n blanhigion hardd,
Ar fyr y'ngardd gogoniant.

---

**43.** *Defnyddioldeb yr Ysgrythurau.* 8, 7.

Yr ail Golect yn Adfent.

1 CLOD i Dduw am ei Ysgrythur!
Addysg gywir geir yn hon!
Nawdd i'r euog, gras i'r aflan,
I'r anniddan heddwch llon:
Rhyddid llawn i'r caeth a'r llwythog,
I'r blinderog esmwythâd;
Ac i holl alarwyr Sïon
Y cysuron pura'n rhad.

2 Buddiol yw i athrawiaethu,
I geryddu anwar rai;
Mewn cyfiawnder i hyfforddi,
Ac i ddangos ini'n bai:
Nodir ynddi ffordd y bywyd,
Ffordd i och'lyd uffern ddu;
Ffordd i'n dwyn trwy afon angau
I drigfannau'r gwynfyd fry.

3 Gras i'w darllain, dyro, Iesu,
Ac i'w dysgu heb lesgâu;
Gras i'w chwilio, gras i'w gwrando,
Ac i'm mewn ei gwir fwynhâu:
Fel y meddwyf hir amynedd,
A diddanwch dan y groes;
Ac am fywyd sy'n anfarwol,
Gobaith bywiol trwy fy oes.

---

**44.** *Dibenion dyfodiad Crist.* M. C.

1 CLYWCH! sain hosanna leinw'r nen,
Ein Dyddiwr mawr sy'n dod;
Pob calon drist groesawed Ef,
Pob llais a gano'i glod.

2 Dod mae i ddwyn y caethion prudd,
I ryddid meibion Duw;
Y pyrth o bres a dŷr o'i flaen,
A'r holl gadwynau'n friw.

3 Mae'n dod i roi i'r enaid dall
Y goleu pura' sydd;
Y rhai fu'n hir mewn tywyll nos,
Gânt hyfryd nefol ddydd.

4 Dod mae i rwymo'r galon friw,
I lwyr iachâu y cla';
Newyddion da i'r llariaidd dŵg,
Bendithio'r isel wna.

5 Ein cân o fawl, Dywysog hedd,
Dyledus yw i ti;
A'r dda'r a'r nef a unant mwy,
I roi it' barch a bri.

**45.** *Y Gaersalem newydd.* M. H.

Dat. xxi.

1 C'OD, f' enaid gwan, yn fuan gwêl
Y wlad sy'n llifo o laeth a mêl;
Gorphwysfa'r rhai a ddaeth trwy ras
O gystudd mawr y byd i ma's.

2 Caersalem newydd, dinas Nêr,
Bar'tow'd i'r saint uwchlaw y sêr;
Adeilad gwych o aur di-goll,
Fel gwydyr gloyw'n ddisglair oll.

3 Ei phyrth o berl, o ryfedd waith,
Aur pur yw ei heolydd maith;
Pob rhan o honi cyflawn yw
O sanctaidd bresennoldeb Duw.

4 Haul yma'n wir, na lloer, nis cawn,
Gogoniant Duw sydd ynddi'n llawn;
Yr Oen â'i waed fu'n llifo'r llawr,
Sydd yn goleuo'r ddinas fawr.

5 Y gwaredigion oll o'u bron
Sy'n rhodio y'ngoleuni hon;
T'wysogion a brenhinoedd byd
Ro'nt eu gogoniant iddi gyd.

---

**46.** *Tosturi a chydymdeimlad Crist.* 8, 7.

Heb. iv. 15. Mat. xii. 20.

1 COFFAWN yn llawen gyda pharch
Am ras ein Harchoffeiriad;
Un yw o galon dyner iawn,
A llawn 'mysgaroedd cariad.

2 Cyd-deimlo mae â'n natur wan,
Fe ŵyr mor egwan ydyw;
Gŵyr beth yw profedigaeth gref,
Can's profodd ef y cyfryw.

3 Ni ddiffydd llin fo'n mygu byth,
Yn fflam fe'i chwyth yn hytrach;
Y gorsen ysig chwaith ni thyr,
Y gwan fe'i gyr yn gryfach.

---

47. *Cofio am angau mewn amser.* 8,7.

1 COFIA, f' enaid, cyn it' dreulio
D' oriau gwerthfawr yn y byd,
Cyn it' hedeg ffwrdd oddiyma,
P'un a ge'st ti'r trysor drud;
Ym mha ardal bydd fy lletty,
Fath bryd hynny fydd fy ngwedd;
P'un ai llawen neu gystuddiol
Fyddaf fi tu draw i'r bedd?

2 Pan bo'r llygaid yma'n t'wyllu,
Yn eu pyllau'n llechu lawr,
Troi oddiamgylch wrth ymdrechu
A galluoedd angau mawr;
P'odd goddefaf fi'r fath gystudd?
Pwy adfera'r golled hyn?
Ond cha'i guddio 'mhen y'nghlwyfau
'R Oen fu farw ar y bryn.

3 Iesu hawddgar, gras i'th ddewis,
Nerth i ddilyn ol dy dro'd;
Yna caiff fy enaid hedeg
I'r dedwyddwch uwch y rhod:
Tra fo'm pridd yn ymgymmysgu
A'r hyn ydoedd ef ryw bryd,
Llewyrch wyneb Duw ddisgleiria
Rannau f' enaid oll i gyd.

**48.** *Yr undeb rhwng Crist â'r Eglwys.* 8, 7.

Ioan xv. 5.

1 CRIST yw y wir Winwydden hardd,
(Anrhydedd gardd Paradwys)
Sy'n cynnal byth bob cangen bêr
O'i egwan dyner eglwys.

2 Yng Nghrist y mae eu grym a'u nerth,
A'u bywyd gwerthfawr grasol;
A'u ffrwyth dymunol hoff a dyf
O'i gariad cryf trag'wyddol.

3 Pob cangen ffrwythlon byth fydd byw,
Anfarwol yw y gwreiddyn;
Mor agos yw'r berthynas hir
Rhwng Duw â'r gwir gredadyn.

---

**49.** *Cariad Crist.* M. H.

1 CYD-FOLED y nefolion fry,
A'r holl dduwiolion ar y llawr,
Ein Ceidwad cryf, a'n Cyfaill cu,
Ein Priod mwyn, a'n Prynwr mawr.

2 Ar aden cariad hedodd Crist
I'r ddaear wael o'r nefoedd wen,
I achub pechaduriaid trist,
A'u dwyn i'r llys tu fewn i'r llen.

3 Y ffordd i'r nef yn rhydd a wnaed,
Trwy rinwedd ei gyfryngdod ef;
Anfeidrol werthfawr yw ei waed,
A'n prynodd ni i feddu'r nef.

4 Yr Iesu gâr ei eglwys gu,
Tra fo'n y byd trofâus yn byw;
A gwledda'r saint anfarwol fry,
Dros fyth, ar gariad tirion Duw.

**50.** *Crist yn Gydymaith a Brawd.* M. C.

Diar. xvii. 17.

1 CYDYMAITH mwyn yw'r Iesu mawr,
Bob amser caru mae;
Brawd anwyd erbyn c'ledi llym,
Cystuddiau, ing, a gwae.

2 Cydymaith gydymdeimla'n rhwydd
A'n gwendid y'mhob man;
Cydymaith saif yn ffyddlon byth
A chadarn ar ein rhan.

3 Yn oriau hwyr marwolaeth oer,
Cydymaith gwir fydd ef;
Trwy ddyffryn angau du fe'n dwg
Yn iach i deyrnas nef.

---

**51.** *Cyfammod gwell.* 10au.

1.

CYFAMMOD gras sy'n addas iawn i ni,
Am faddeu'n rhad rhown glod ein Tad i ti;
Daw tyrfa fawr o blant y llawr yn llu,
Trwy ddŵr a thân ar frys i'r Ganaan fry.

2.

Cyfammod gwell a ddaeth o bell i'r byd,
Sydd fel y môr yn llawn o drysor drud;
Lle'n fore iawn y trefnwyd iawn i'n Iôr,
Lle rhoed i'w saint bob gwerthfawr fraint yn 'stôr.

3.

Bu farw'r Oen, fe ddug ein poen i gyd,
A'i gariad gwn y pery hwn o hyd;
Er maint eu bai, fe roddir rhai yn rhydd,
A'u dyled yw moliannu Duw bob dydd.

52. *Y Cyfammod Gras.* 10au.

1.

CYFAMMOD hedd, cyfammod cadarn Duw,
Ni syflir byth, gwirionedd dilyth yw;
Cyfammod pur, ni chyfnewidir chwaith,
Er maint eu pla, daw tyrfa i ben eu taith.

2.

Cyfammod rhad, o drefniad Un yn Dri,
Hen air y llw a droes yn elw i ni;
Mae'n ddigon cryf i'n codi fynu'n fyw,
Ei rym o hyd yw holl gadernid Duw.

3.

Gwna fi fel pren planedig, O fy Nuw!
Yn îr ar lan afonydd dyfroedd byw;
Ei wraidd ar led, a'i ddail heb wywo mwy,
Yn ffrwytho dan gawodydd haeddol glwy'.

---

53. *Cyfiawnder Crist.* 10au

1.

CYFIAWNDER pur, cyfiawnder Adda'r Ail,
Mae hwn, heb gêl, yn ddisglair fel yr haul;
O Fethle'm wael i fynydd Calfari
Fe'i gwnaed yn llawn, mae'n addas iawn i ni.

2.

Gwisg ryfedd rad, a gwisg ddiwnïad yw,
Gwisg hyfryd lân, gwisg gyfan rodd fy Nuw;
Gwisg hardd ei llun, heb un brycheuyn du,
A gwisg ddidraul, wnaeth Adda'r Ail i ni.

3.

Gwisg drefnodd gras, gwisg ein priodas yw,
Gwisg ddeil i ma's, gwisg addas, hardd ei lliw;
Gwisg nad â'n hen, o liain gwyn a glân,
Fe'n ceidw hon rhag gwreichion uffern dân.

**54.** *Pellhâu camweddau.* 8, 6.

Psalm ciii. 11—13.

CYFUWCH ag yw'r ffurfafen fawr,
Yn hongian fry oddiwrth y llawr,
Neu belled ag yw'r dwyrain wawr
Oddiwrth orllewin bell;
Ein Harglwydd a bellhâ ein bai,
Oddiwrth ein llwyr haeddiannol wae,
Nâ thad i'w blentyn caru mae,
A chariad llawer gwell.

---

**55.** *Y trydydd Colect yn Adfent.* 8, 7, 4

1 CYN it' ddyfod gynt i drigo
Gyda dynion, Arglwydd glân,
Ti ddanfonaist dy Genhadwr
I bar'tôi dy ffordd o'th fla'n:—
Dyro heddyw, &c.
I'th genhadon gyfryw ras.

2 Caniattâ i'th weinidogion,
A gor'chwylwyr da dy dŷ,
Lwyr arloesi ffordd it' etto
I galonnau myrdd di-ri';
Trwy droi'r cyndyn, &c.
I ddoethineb pur dy saint.

3 Yna ar dy ail ddyfodiad
I iawn farnu dynol ryw,
Ceir ni'n bobol gymmeradwy
Yn dy olwg, O ein Duw;
Trwy ryglyddon, &c.
Dy oddefaint ar y groes.

**56.** *Golwg ar y nef.* 8au.

1 DACCW'n wir yr ardal hyfryd,
Hen artrefle ein Hanwylyd;
Gwlad lle mae pob rhyw gysuron
Yn llifeirio fel yr afon.

2 Daccw'r hyfryd wledydd helaeth,
Roddwyd ini'n etifeddiaeth;
Lle mae cariad pur yn llifo
Dros ardaloedd gras heb flino.

3 Daccw'r wlad lle cawn deyrnasu
Gyda'n hanwyl Brynwr Iesu;
Dechreu cydgan pen Calfaria,
A chyd-seinio pêr Hosanna.

4 F' enaid, cred, anghofia'th ofid,
Edrych i'r ardaloedd hyfryd;
Hed o'r byd sydd bron a'th orfod,
Bythol wleddoedd fry sydd barod.

---

**57.** *Nid oes Geidwad ond myfi.* M. H.
Esay ix. 6.

1 DAETH addawedig Had y Wraig
I'r byd i ddryllio pen y ddraig;
Un waith yn ddyn, erioed yn Dduw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

2 Daeth Iesu Grist i fyd tylawd,
O'i uchel fri i'r gwaela'n frawd;
Ufuddol oedd, "Rhyfeddol" yw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

3 Er bod dan groes ei oes o hyd,
Heb fawr o barch gan fawrion byd;
"Cynghorwr" oedd, a gwir Fab Duw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

4 Rhoed cospedigaeth greulawn gri
Ar Aer y nef, ein Heddwch ni;
Ein Tŵr, ein Nawdd, "Duw Cadarn" yw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

5 Ca'dd yn y byd orthrymder mawr,
Heb le am dro roi'i ben i lawr;
Er hyn, "Tad trag'wyddoldeb" yw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

6 Bu farw ef, esgynodd fry,
Mae heddyw'n dadleu drosom ni;
"Tywysog" mawr "Tangnefedd" yw,
Efe yw Ceidwad dynol ryw.

---

**58.** *Rhagolwg ar y nef.* M. B. D.

1 DAETH bore'r adar mân
Ar dân i foli Duw;
Mae'r haul a'r nefol hyfryd hin
Yn llonni'r werin wiw:
Fe ddaeth y Jubilî,
Gwych yw ein bri a'n braint;
Cawn fyn'd i dre' ar fyr o dro
I seinio gyda'r saint.

2 Daw'r caethion oll yn rhydd,
Heb neb yn brudd o'u bron;
Bydd hynod ganu pêr am ras,
O fewn i'r ddinas lon:
Pob un â'i delyn aur,
Mab Mair a gaiff y clod,
Am iddo'n prynu ar y pren,
Tra'r nefoedd wen yn bod.

**59.** *Ar ddiwedd blwyddyn.* 8, 7.

1 DAETH etto ben y flwyddyn hon,
Mae arall bron ymwawrio;
Holl oesoedd byd o dro i dro,
O do i do ant heibio.

2 Mae'r byd ysprydol ddydd a nos
Yn agos agos attom;
Nid oes ond llen marwoldeb brau,
A dyr yr angau, rhyngom.

3 I'm tyb mi glywaf alwad gref,
Uwch uwch mae'r llef yn galw;
"Pwy â i'w daith yn nesaf un?"
Ai fi fy hun fydd hwnnw?

4 O f' enaid cais cyn angau glas,
Sancteiddiol ras i'th buro;
Cais wir adnabod Prynwr byd,
Mae bywyd bythol ynddo.

---

**60.** *Emmanuel, Duw gyda ni.* 6, 8.

1 DAETH Llywydd nef a llawr,
I wisgo dynol gnawd,
Wel, henffych, Arglwydd mawr,
A henffych, dirion frawd!
Henffych i'n Duw a'n Ceidwad hael,
A gym'rodd arno'n natur wael!

2 Mewn cnawd i'n tynnu'n rhydd
Daeth y trag'wyddol Air;
Wel, henffych fyth i'r dydd
Y ganwyd ef o Fair!
O'i ras fe ddaeth o uchder ne',
I brofi'r lladdfa yn ein lle.

3 I groth y wyryf wan,
I garchar, ac i'r bedd,
Y daeth ef ar ein rhan,
I brynu gras a hedd:
Trwy ing a loes ar Galfarî,
Agoryd wnaeth y nef i ni.

---

**61.** *Gweddi ar Dduw.* M. H.

1 DAL fi, fy Nuw, dal fi i'r lan,
'N enwedig dal fi lle'r wy'n wan;
Dal fi yn gryf nes myn'd i ma's
O'r byd sy'n llawn o bechod cas.

2 Gwna fi'n gyfoethog ym mhob dawn,
Gwna fi fel halen blasus iawn;
Gwna fi fel seren oleu wiw,
Ddisgleirio yn y byd 'rwy'n byw.

3 Dysg fi mewn gorthrymderau trist
I bwyso ar fy Arglwydd Crist;
Dysg fi wrth fyn'd o'r byd i ma's
I gario'r dydd ar angau glâs.

4 Dysg fi, fy Nuw, dysg fi pa fodd
I ddweyd a gwneuthur wrth dy fodd;
Dysg fi ryfela 'r ddraig heb goll,
Ac i orchfygu'm pechod oll.

5 Tra caffwy' rodio'r ddaear hon,
Dod hedd fel afon dan fy mron;
Ac yn y diwedd moes dy law
I'm tywys mewn i'r nefoedd draw.

62. *Effeithiau yr Efengyl.* M. H.

Esay xi. 6—9.

1 DAW amser da, can's gwawrio bron
Mae hafddydd yr efengyl lon;
Hi â mewn grym i'r 'nysoedd pell,
A chyfnewidia bawb er gwell.

2 Ceir gwel'd y blaidd a'r oen y'nghŷd,
Y mynn a'r llewpart o'r un fryd;
Y llo, y llew, a'r 'nifail bras,
Mewn heddwch mawr, heb gwympo ma's.

3 Y fuwch ynghŷd â'r arth a bawr,
A'u llydnod gyd-orweddant lawr;
Anghofia'r llew greulondeb cas,
Fel ŷch fe bora wellt y ma's.

4 Y plentyn sugno chwery'n llon
Wrth dwll yr asp, heb ofni hon;
A'r hwn ddiddyfnwyd yn ddi-fraw
Ar ffau y wiber rydd ei law.

5 Diniwaid fyddant o bob rhyw,
Ar hyd holl fynydd sanctaidd Duw;
Gwybodaeth Iesu leinw'r byd,
Fel dyfroedd mawr y môr i gyd.

---

63. *Y glorian gywir.* 7, 6.

1 DAW dydd o brysur bwyso
Crefyddwyr cyn bo hir,
Ceir gwel'd gan bwy mae sylwedd,
A phwy sydd heb y gwir:
Yr Oen fu ar Galfaria
Yn Farnwr pawb a ddaw,
Gan eistedd ar ei orsedd,
A'r glorian yn ei law.

2 Gan nas gwna ffurf o grefydd
Y tro pan ddelo'r awr,
Na dim ond gwir dduwioldeb
I droi y glorian fawr;
O Dduw! rho im' adnabod
Ar f' yspryd ol dy law,
Fel meddwy'r nôd a'r argraff
Arddelir ddydd a ddaw.

---

**64.** *Estroniaid yn dychwelyd.* 7, 6.

1 DAW miloedd o rai aflan
I 'mofyn am y gwa'd,
A lifodd ar Galfaria
I olchi'r dua'n rhad;
A'r dagrau ar eu gruddiau
Wrth gofio angau loes,
Gan ddechreu canu'n beraidd
Am rinwedd gwaed y groes.

2 Er cymmaint ag a olchwyd,
Ac yn y nef sy'n awr,
Mae'r ffynnon fel y grisial
Y'ngwlad y cystudd mawr;
Mae heddyw mor rhinweddol
I olchi'r du yn wyn,
Ag oedd pan darddodd gyntaf
Ar ben Calfaria fryn.

3 O Arglwydd, canna etto
Fyrddiynau yn dy wa'd;
Iuddewon a Chenhedloedd,
Rho iddynt wir iachâd:
A galw hwynt o'r gogledd,
Gorllewin, dwyrain, de',
I'th eglwys yn ddiattal,
Mae digon etto o le.

**65.** *Llwyddiant yr efengyl.* 6, 4, 8, 7.

1 DAW'r garreg oddi draw,
A dorrwyd nid â llaw;
Lle treigla hon
Bydd llawer bron mewn braw:
Cynnyddu wna fel mynydd mawr,
Fe gwymp allorau Baal i'r llawr,
Y nos y'mhell a redodd,
Agorodd dorau'r wawr.

2 Daw un o Edom wlad,
A'i wisg yn goch gan wa'd,
O Bosra i'r lan,
A satan dan ei dra'd:
I'r gwaredigion daeth y dydd,
O Babel rhoes ei blant yn rhydd,
Dydd digter yn ei galon,
I'w holl gaseion sydd.

3 Daw'r Indiaid dua'u lliw,
I 'mofyn am Fab Duw;
Ac esgyrn sych
Eseciel wych yn fyw:
Yn dorf hwy safant ar eu tra'd,
I foli'r Oen a'i werthfawr wa'd,
Nes dadsain bro a bryniau
Hosanna am leshâd.

---

**66.** *Digonolrwydd iechydwriaeth Duw.* M. C.

1 'DDIFFYGIA' i ddim, er cyd yw'm taith,
Tra paro gras Duw'r nef;
Ac er mor lieied yw fy ngrym,
Mae digon ynddo ef.

2 Mae'r iechydwriaeth fel y môr,
Yn chwyddo byth i'r lan;
Mae ynddi ddigon, digon byth,
I'r truan ac i'r gwan.

3 'Does ynddi eisiau byth yn bod,
Trysorau gras sy'n llawn,
Er maint yw'r yfed a'r glanhâu
Sydd fore a phrydnhawn.

---

**67.** *Yr yrfa ysprydol.* 8, 7.

1 Cor. ix. 24—27. Heb. xii. 1, 2.

1 DEFFRO, f' enaid, rhed dy yrfa,
'R yrfa nefol, er mor faith;
Ti gei goron anllygredig,
'Nol cyrhaeddyd pen dy daith:
Llais dy Dduw sy'n galw arnat
O drigfannau'r gwynfyd fry;
Llaw dy Dduw yn dala'r goron
Draw o flaen dy lygaid sy.

2 Aml yw'r tystion sydd o'th amgylch,
Seintiau ac angylion glân;
Ymaith â phob pwys a phechod,
Ac ymestyn fyth ymla'n:
Rhed dy yrfa'n amyneddgar,
Cadw'th olwg ar y groes;
Cofia'r hwn yn lle'r llawenydd
Ddïoddefodd angau loes.

3 Dïystyrodd E'r gwaradwydd,
Pan fu farw yn dy le;
Ar ei ben yn awr disgleiria
'R goron bennaf yn y ne';

Edrych arno am gynhorthwy,
  A rhydd iti nerth yn rhad;
I dir gwynfyd dwg yr Iesu
  Bawb ddilyno ôl ei dra'd.

---

**68.** *Y Colect ar y Sul cyntaf wedi'r Ystwyll.* 8,7.

1 DERBYN, Arglwydd, yn dosturiol,
  Weddi'th bobol yn y byd;
Fry i'th lŷs eu llef pan ddelo,
  Clust-ymwrando di bob pryd:
Dysg ni ofyn fel y dylem,
  Atteb bob erfyniad iawn,
Dyro ini dy drugaredd,
  Estyn bob ysprydol ddawn.

2 Agor lygaid ein meddyliau,
  Goleu'th Yspryd ini moes;
Dangos beth a ddylem wneuthur
  Er ein cysur trwy ein hoes:
Estyn hefyd ini allu
  I gyflawni yr un-rhyw
Er mwyn Iesu, 'r hwn fu farw
  I bechadur brwnt gael byw.

---

**69.** *Tyred at Grist a groesaw.* 8, 7, 4.

1 DEUWCH, bechaduriaid tlodion,
  Clwyfus, cleifion, o bob rhyw;
Iesu parod yw'ch gwaredu,
  Llawn tosturi yw Mab Duw:
Nac amheuwch, &c.
  Cryf ac ewyllysgar yw.

2 Rai anghenus, dewch, a'ch groeso,
I gael rhoddion Duw yn rhad;
Cewch faddeuant a thangnefedd,
A phob gras yn ddinaccâd;
Dewch heb arian, &c.
Prynwch gan yr Iesu'n rhad.

3 Am gymhwysder na freuddwydiwch,
Beri ichwi oedi'n hir;
Teimlo'ch eisiau mawr o hono
Yw'r cymhwysder geisia'n wir:
Rhodd yw hynny, &c.
Gwawr goleuni'r Ysbryd pur.

---

70. AIL RAN. 8, 7, 4.

1 DEWCH at Grist, flinderog, llwythog,
Trwy y cwymp ga'dd farwol friw;
Os aroswch nes i'ch wella,
Byth ni ddeuwch yn eich byw:
Pechaduriad, &c.—
Nid rhai cyfiawn eilw Duw.

2 Gwêl ef yn yr ardd yn gorwedd;
A'i lân wyneb tua'r llawr!
Gwêl ef ar y pren yn marw,
Ac yn talu'th ddyled mawr!
D'wêd, "Gorphenwyd!" &c.
O bechadur, cred yn awr!

3 Gwêl y Duw mewn cnawd yn dadleu
Fry rinweddau maith ei wa'd!
'Nawr anturia arno'n hollol,
Pob rhyw hyder arall gâd:
'Does ond Iesu, &c.
I bechadur rydd iachâd.

4 Saint ac engyl nef yn gysson,
Cenwch fawl i'r Oen ar dân;
Nes bo holl anneddau'r nefoedd
Yn dadseinio'i enw glân:
Haleliwia! &c.
Rhydd i ninnau ydyw'r gân.

---

**71.** *Deuwch i'r briodas.* 8, 7, 3.

1 DEUWCH, hil syrthiedig Adda,
Daeth y Jubil fawr o hedd;
'Rys yn galw pawb o'r enw
I fwynhâu trag'wyddol wledd:
Bwrdd yn llawn, yma gawn,
O foreuddydd hyd brydnhâwn.

2 Dewch y deillion, dewch y cloffion,
Dewch y gwywedigion rai;
Ymadêwch â'r hyn ag oeddech
Yn cael pleser i'w fwynhau:
Chwi gewch wîn, nefol rîn,
Yma i'w yfed yn ddi-brin.

3 Ceisiwch wisgoedd y briodas,
Gwisgoedd hyfryd hardd eu lliw;
Nid oes enw teilwng arnynt
Ond cyfiawnder pur fy Nuw:
Cewch iachâd, a glanhâd,
Beiau fyrdd o dan eich tra'd.

---

**72.** *Blaenffrwyth y rhai a hunasant.* M. H.

1 DEWCH, gwelwch D'wysog nefoedd fawr,
O radd i radd yn d'od i lawr,
I groth y dda'r i esmwythâu
Gwelŷau'r holl grediniol rai.

2 'Nol gorwedd dridiau daeth i'r lan,
Agorodd ddrws i ni oedd wan,
I godi'n gryf a d'od i ma's,
Er cadw'r porth gan angau glas.

3 Pa ddrwg wna'r bedd a'r pryfed mân!
Bu f' Arglwydd yno o fy mla'n;
Pa'm 'r ofna'i ronyn fyn'd i'r lle
Gorweddodd ynddo Frenin ne'!

---

**73.** *Moli Duw am Iachawdwr.* 5, 8.

1 DEWCH, canwn yn awr, yn fach ac yn fawr,
Mae achos i foli, gwir yw;
Messïa a gaed, i'n prynu â'i waed,
Bendithiwn, bendithiwn ein Duw.

2 Iachawdwr yw ef o drefniad y nef,
I wneuthur y meirwon yn fyw;
Fe feder lanhâu, a chadarn iachâu,
O molwn, O molwn ein Duw.

3 Rhai euog ŷm ni, o feiau di-ri',
Heb obaith, heb obaith am fyw;
Ond Crist i ni rydd ail fywyd trwy ffydd,
Canmolwn, canmolwn ein Duw.

4 Mae'n hynod o hael, mae'n derbyn rhai gwael,
Ewn atto, ewn atto, bob rhyw;
Rhydd in' esmwythâd, a pherffaith iachâd,
Bendithiwn, bendithiwn ein Duw.

**74.** *Y cystuddiedig o ysbryd.* M. C.

Esay lvii, 15.

1 DIDDANWCH da a roddi di
I'r galon ddrylliog, Dduw;
Mynega, a yw'm calon i
Yn ddrylliog, ai nid yw?

2 'Rwy'n gwrando'r gair, ond beth wyf well?
Ni theimla' i fwy na'r dur;
Os teimlo 'r wyf, rhyw ofid yw
Nas gallaf deimlo'm cur.

3 I'th garu weithiau teimlaf chwant,
Pe medrwn gan fy mhla;
Ond teimlo'n fynych hefyd wyf
Yn groes i oll sy dda.

4 Fy nymuniadau goreu i gyd,
Ychydig ŷnt a gwan;
Ond tybia 'mod wrth geisio'th nerth
Yn wannach nag o'r bla'n.

5 Dy saint gysurir gennyt, gwn,
A hoffant fyn'd i'th dŷ;
Af finnau yno gyda hwynt,
Ond cysur ni chaf fi.

6 Gwna'n drist neu'n llon y galon hon,
A thòr y ddadl, O Dduw;
Os nad yw'n ddrylliog, dryllia hi,
A rhwyma hi, os yw.

---

**75.** *Gwagedd y byd a'i bethau.* 8, 7.

1 DIFLASAF ar felusaf ffrwyth
Y byd anesmwyth yma;
'Does ynddo'n wir i'm henaid wledd,
Na chyflawn hedd na noddfa.

2 Hir grwydro'n drist mae 'nghalon drom,
Fel gwanaidd g'lommen Nöa;
Gan geisio'n daer sylweddol dir,
Ac esmwyth hir orphwysfa.

3 Ond gwag yw'r ddaear gron i gyd,
Newyna'm hyspryd arni;
'Does dim mor dda ond Duw a'i ddawn
A all ei lawn ddigoni.

---

**76.** *Gwedi'r Cymmun.* M. C. D.

DIOLCHGAR f'om, bob enaid byw,
Am ras Oen Duw roes iawn;
Bendithion llawn, cysurol hedd,
Digonedd ynddo gawn:
Ein porthi mae â'i gorph a'i wa'd,
Mewn anial wlad, yn awr;
A gwledda gawn dros fyth y'nghŷd
Mewn llonfyd uwch y llawr.

---

**77.** *Dymuno cyflawniad yr addewidion.* 8,7,4.

1 DROS y bryniau tywyll, niwlog,
'N dawel, f' enaid, edrych draw;
'R addewidion sydd i esgor
Ar ryw ddyddiau gwych ger-llaw:
Arglwydd grasol, &c.
Brysia'n wir y bore wawr.

2 Doed yr Indiaid, doed Barbariaid,
Doed y caethion du yn llu,
I ryfeddu'r ddwyfol gongcwest
Unwaith ga'w'd ar Galfari;
Sŵn y frwydyr, &c.
Dreiddio i eithaf conglau'r byd.

3 Gwawria, gwawria, hyfryd fore,
Ar y fagddu erchyll fawr;
Nes bo bloedd yr auraidd udgorn
Yn dadseinio'r nen a'r llawr,—
Holl derfynau, &c.
Tir Emmanuel i gyd.

4 Hed fel mellten, bur efengyl,
A gorchfyga oll yn lân;
Bydded i'th gyffiniau ëang
Ymhelaethu fyth ymla'n:
A'th lywodraeth, &c.
Dros y moroedd mawr i gyd.

---

**78.** *O'r Litani.* M. H.

1 DUW Dad o'r nef! a roist mewn pryd,
O'th gariad cryf, dy Fab i'r byd;
I ni wir bechaduriaid mawr
Dy ras maddeugar dyro 'nawr.

2 Duw Fab! ein mwyn Iachawdwr mâd!
A'n prynaist oll â'th werthfawr wa'd;
I ni wir bechaduriaid mawr
Dy ras iachusol dyro 'nawr.

3 Duw Yspryd Glân! Ddiddanydd gwiw!
Sy'n gwneud yr enaid marw'n fyw;
I ni wir bechaduriaid mawr
Dy ras bywhäol dyro 'nawr.

4 Y Drindod lân fendigaid fyth!
Tri Pherson, ac un Duw di-lyth!
I ni wir bechaduriaid mawr
Hedd, gras, a bywyd, dyro'n awr.

**79.** *Rhyfeddol angau Crist.* M. H.

1 DUW, er mor ëang yw dy waith,
Yn llanw'r holl gre'digaeth faith;
'Does dim y'ngwaith dy ddwylaw oll
At gadw dyn fu gynt ar goll.

2 Ar groes y mae anfeidrol ras
I'r eitha'n cael ei daenu ma's;
A holl lyth'rennau'th enw gawn
Yn cael eu dangos yma'n llawn.

3 Ar Galfari rhwng da'r a nef
Llewyrchodd ei ogoniant ef;
Un haul ymguddiodd y prydnhâwn,
A'r llall a wnawd yn eglur iawn.

4 O fyrddiwn ryfeddodau'r groes!
Goddefodd f' Arglwydd angau loes!
Caru hyd at ddioddef llid,
Caru a marw yr un pryd!

---

**80.** *Duwioldeb yn elw.* 7, 6.

1 Tim. iv. 8. a vi. 6.

1 DUWIOLDEB ydyw'r elw,
A phob peth ganddi sy;
Sy'n eisiau ar y ddaear,
Ac yn y nefoedd fry:
Mae'n meddu ar addewid
O'r bywyd sydd yn awr,
A'r hwn sy'n para hefyd
Trwy drag'wyddoldeb mawr.

2 Duwioldeb dan ei henw
Sydd berl ac elw glân;
Ni threulir ac ni thoddir,
Ni losgir yn y tân;

Duwioldeb saif yn gywir,
  Ië'n gadarn iawn bob darn;
Yn gadarn ar y ddaear,
  Yn gadarn yn y farn.

---

**81.** *Ympryd yn amser rhyfel.* M. H.

1 DUW mawr y nefoedd a'r holl fyd,
  Rho glust i'n huchel lef y'nghŷd;
Gwel Brydain heddyw'n brudd ei gwedd
O'th flaen yn plygu i geisio'th hedd.

2 Nid braich o gnawd fo'n hyder hŷ,
Na chledd, na march, na llongau lu;
Ti bïa'r tîr a'r môr, O Dduw,
Nerth dyn a'i feder ofer yw.

3 Na foed un drwg i ddigio'n Iôr
Y'mhlith ein gwŷr ar dir na môr;
Un ffiaidd beth i'w attal ef,
O'i nawdd a'i ras i wrando'n llef.

4 'Nawr trwy anadliad d' Ysbryd Glân,
Ennynna ynom nefol dân;
Diwygia'n gwlad, ac arbed ni,
Fel y mawrhâer dy enw di.

---

**82.** *Deued dy deyrnas.* 8, 7, 4.

1 DUW, teyrnasa ar y ddaear,
  O'r gorllewin faith i'r de';
Cymmer feddiant o'r ardaloedd
  Pellaf, t'wyllaf is y ne':
'Nol d' addewid, &c.
  Llanw'r ddaear faith â'th ras.

2 Taened gweinidogion bywyd
Iechydwriaeth Crist ar led;
Caried moroedd yr ysgrythur
Trosodd draw i'r rhai di-gred:
Aed efengyl, &c.
Ar adenydd dwyfol wynt.

3 Doed preswylwyr yr anialwch,
Doed trigolion bro a bryn;
Doed y rhai sydd ar y ce'nfor
'Garu'r iechydwriaeth hyn:
Nes bo adsain, &c.
Moliant yn amgylchu'r byd.

---

**83.** *Y Colect ar yr ail Sul wedi'r Ystwyll.* M. C.

1 DY allu di, drag'wyddol Dduw,
Anfeidrol yw bob awr;
A'th gref lywodraeth cyrraedd mae
I'r nef a daear lawr.

2 Ein gweddi clyw'n drugarog fry,
A dod i'n henaid drud
Hedd a'n canlyno yn ein taith
Trwy anial maith y byd.

3 Dy Fab a brynodd hedd i'w had,
Trwy golli gwa'd yn lli;
Ac er ei fwyn ein Tad o'r nef,
Tangnefedd rho i ni.

---

**84.** *Chwyl y tymhorau.* M. C.

1 DY glod, O Dduw, dy deilwng glod,
Cyd-seinier ef trwy'r byd;
Dy law sy'n troi y ddaear gron,
A rhoi'r tymhorau i gyd.

2 I ti ein Tad a'n Cyfaill mâd
Y rhoir blynyddol fawl;
Tra disgyn trugareddau fyrdd
Yn ffrwd o dir y gwawl.

3 Y'mhob amgylchiad, a phob oes,
Dy ofal brofwn ni;
A'n moliant fyddo mor ddi-baid,
Ag yw dy ddoniau di.

4 Y'mhob amgylchiad, a phob oes,
Dy gariad brofom byth;
Ac ar y flwyddyn newydd hon
Dihidled nefol wlith.

5 Na âd ofalon drwg y byd
Drallodi'm bron, O Dduw;
Dysg fi ymwadu er dy fwyn
A phob peth, tra fwy' byw.

6 Os gwena hedd, O dyged 'nol,
Fy enaid grwydra draw;
A than geryddon canu wnaf,
Os cariad gwyd dy law.

---

**85.** *Ffordd newydd.* 8, 7.

1 DYMA babell y cyfarfod,
Dyma gymmod yn y gwa'd;
Dyma noddfa i lofruddion,
Ac i gleifion feddyg rhad:
Dyma fan yn ymyl Duwdod
I bechadur wneud ei nyth,
A chyfiawnder pur y nefoedd
Wena'n siriol arno byth.

2 Ffordd a drefnwyd cyn bod amser,
I ochelyd drygau'r ddraig;
Mewn cyhoeddiad gynt yn Eden
Fe amlygwyd Had y Wraig:
Ffordd i gyfiawnhâu'r annuwiol,
Ffordd i godi'r marw'n fyw;
Ffordd gyfreithlon i droseddwyr
I gael hedd achubol Duw.

3 Dyma Frawd a aned ini
Erbyn c'ledi a phob clwy';
Ffyddlon ydy', llawn tosturi,
Haeddai gael ei foli'n fwy:
Prynwr caethion, Meddyg cleifion,
Ffordd i Sion union yw;
Ffynnon loyw, bywyd meirw,
Arch i gadw dyn yw Duw.

---

**86.** *Swyddau Crist.* 8, 7.

1 DYMA Frenin, dyma Brophwyd,
Dyma Archoffeiriad mawr;
Brawd a Phriod i bechadur,
Ceidwad llon i lwch y llawr:
Cyfoeth nef sy'n dod i'r golwg
Rhwng y lladron ar y pren,
Angau'i hun yn cwrdd â'i angau
Trwy rym angau Crist ein Pen.

2 Ti wyt borth i bob anghenog,
Er dy fwyn â gweddi'r gwan,
Ac och'neidiau'r carcharorion,
O'r pydewau mawr i'r lan:
D' enw sydd yn perarogli
Gweddi'r tlawd ger bron y Tad;
Ti wyt deilwng o'r gogoniant
Byth am faith rinweddau'th wa'd.

**87.** *Y pererin hyderus.* 8, 7.

1 DYN dieithyr ydwyf yma,
  Draw mae'm genedigol wlad;
Draw i'r moroedd mawr tymhestlog,
  Ac o fewn i'r Ganaan rad:
Ac er gwaethaf grym y tonnau
  Sydd yn curo o bob tu,
Llaw fy Nuw a'm dwg trwy'r storom,
  Ryw bryd i'r baradwys fry.

2 'Rwyf fi'n dechreu teimlo eisioes
  Beraroglau'r gwledydd draw,
Gyda'r awel bur yn hedeg;
  Dïau fod y wlad gerllaw:
Dere, 'r tir dymunol hyfryd,
  Dere, 'r ardal sydd heb drai;
Dy bleserau, nefol rywiau,
  Gad im' bellach eu mwynhâu.

---

**88.** *Ffydd fywiol a marwol.* M. H.

1 EIN crefydd oll yn ofer fydd,
  Os oer a marw yw ein ffydd;
Nid oes ond bywiol ffydd o'r nen
A'n huna ni a'n bywiol Ben.

2 Ffydd dry y galon ddrwg yn dda,
A ffydd trwy gariad gweithio wna;
Hi ymlid ffwrdd gysuron gau,
A chodi'n serch i'r nef y mae.

3 Ffydd sy'n gorchfygu'r byd a'r fall,
Trwy nefol allu byth heb ball;
A hwn yw'r gras gwrolgamp mawr
A lwydda yn yr olaf awr.

**89.** *Duw a ymddangosodd mewn cnawd.* 8au.

1 EIN Duw ymddangosodd mewn cnawd,
A wisgodd holl natur y dyn;
Y Cyfaill anwylach nâ brawd,
Ei gariad melusach nâ'r gwîn:
Ei wyneb mil harddach nâ'r wawr,
Ei aberth mwy gwerthfawr nâ'r byd;
Fe dalodd bob dyled i lawr,
Fe groesodd y 'sgrifau i gyd.

2 Y rhyfel o'n hochor ni sydd,
Er cymmaint ein tuchan a'n cwyn;
Pwy etto a gollodd y dydd
Trwy waed yr Emmanuel mwyn?
Fe ddrylliwyd yr Arglwydd yn friw,
Rhwng lladron ar Galfari fry;
Ond bellach moliannwn ein Duw,
Agorodd y nefoedd i ni.

3 Fel fflamiau angerddol o dân
Yw cariad f' Anwylyd o hyd;
Fe losgodd bob rhwystyr o'i fla'n,
Fe yfodd yr afon i gyd:
Fe 'maflodd mewn dyn ar y llawr,
Fe'i dygodd â'r Duwdod yn un;
A'r pellder oedd rhyngddynt mor fawr
A lanwodd â'i haeddiant ei hun.

---

**90.** *Tywalltiad yr Yspryd Glân.* 6 llin. 8au.

1 EIN moliant 'nawr a lanwo'r nen,
Ein Harglwydd byw, 'r hwn aeth uwch ben,
Sy'n anfon lawr ei Yspryd Glân,
I buro dyn â'i nefol dân:
Henffych i ddydd y Sulgwyn mawr,
Pryd daeth yr Yspryd Glân i lawr!

2 I'r enaid rhydd o'i ddawn yn rhad
Ail fywyd gwell, trwy rîn y gwa'd;
A chwyd y meirw caeth i ma's
O feddau cau camweddau cas:
Henffych i ddydd y Sulgwyn mawr,
Pryd daeth yr Yspryd Glân i lawr!

3 Amlygu mae oludoedd Crist
I ddynion tlodion, gweinion, trist;
Yn deml i Dduw gwna enaid dyn,
Ac iddo rhydd ei ddelw'i hun:
Henffych i ddydd y Sulgwyn mawr,
Pryd daeth yr Yspryd Glân i lawr!

4 Tyr'd, Yspryd Glân, o'th breswyl fry,
A'th nefol dân i'n mynwes ni;
Dy ras sancteiddiol ynom dod,
A llanw'n genau â dy glod:
O tyr'd fel nerthol wynt i lawr,
Gwna *hwn* i *ni* yn Sulgwyn mawr!

---

**91.** *Gweddi'r Arglwydd.* M. H.

1 EIN Tad o'r nef, ein Duw a'n Rhi,
Sancteiddier byth dy enw di;
Dy deyrnas hylwydd doed ymla'n,
Nes llanw'r ddaear faith yn lân.

2 D' ewyllys ar y dda'r fo'n gref,
Fel mae heb ballu yn y nef;
Ein bara heddyw i ni dod,
Fel yn feunyddiol, er dy glod.

3 Ein holl ddyledion, aml eu rhi',
O'th fawr drugaredd, maddeu di;
A nertha ninnau, fel yn d' ŵydd,
I'n holl ddyledwyr faddeu 'n rhwydd.

4 I brofedigaeth dost na'n dwg,
Ond gwared ni rhag pob rhyw ddrwg;
Can's eiddot fyth y deyrnas yw,
Y gallu, a'r gogoniant gwiw.

---

**92.** *Enwaediad a Bedydd.* M. C.

Gen. xvii.

1 "ENWAEDER chwi, a byddaf byth
Yn rasol Dduw i chwi;
Bendithiaf di, a'th blant ar d' ol,
Cânt fod yn had i mi."

2 Hon yw'r addewid roddodd Duw
I Abraham a'i had;
A'r Patriarch iddo roes ei blant,
Gan gredu gair ei rad.

3 Ond dŵr a selia'r fendith 'nawr,
A seliwyd gynt â gwa'd;
Oddiwrth enwaediad, poenus iau,
Trwy Grist fe gaed rhyddhâd.

4 Yn y cyfammod helaeth hwn
Cyd-lawenhâwn i gyd;
A boed i'n plant glodfori'n llon
Duw Abraham o hyd.

---

**93.** *Fy iachawdwriaeth i a fydd byth.* 9, 8.

Esay li. 6—8.

1 ER cryfed colofnau y nefoedd,
Er sicred sylfeini y byd,
Heneiddia y ddaear fel dilledyn,
A'r nefoedd ddarfyddant ryw bryd;
Ond perffaith a phrydferth gyfiawnder,
A drud iechydwriaeth yr O'n,
A safant pan losgo y bydoedd
Trwy oesoedd diddarfod yr Iôn.

2 Mor ynfyd yw ofni gwaradwydd,
A gwawd daearolion di-ras!
Yn fuan fe ddarfydd eu herlid,
Eu gwg, eu difenwad, a'u cas:
Y prŷf fel dilledyn a'u bwytty,
A'r gwyfyn a'u hysa fel gwlân;
Ond cyfran y cyfiawn a bery
Pan elo'r gre'digaeth ar dân.

---

**94.** *Daw y byd i fòli Crist.* M. H.

1 FE dalodd Iesu'r dyled drud
Dros fyrdd ag sydd heb ddod i'r byd;
Pan welo rhai'n rinweddau'i glwy',
Fyth canu iddo fyddant hwy.

2 O na foed ardal cyn bo hir,
O'r dwyrain draw i'r dehau dir,
Na byddo'r iechydwriaeth ddrud
Yn llanw cyrrau rhai'n i gyd.

3 Dewch, addewidion, dewch yn awr,
Dihidlwch eich trysorau lawr;
Myrddiynau ar fyrddiynau sydd
Yn disgwyl am eich bore ddydd.

---

**95.** *Ail ddyfodiad Crist.* 2, 8.

1 FE ddaw
Ar y cymmylau maes o law,
I rai er dychryn mawr a braw,
Y'mhell uwchlaw dychymmyg dyn;
Ac yna barna'r ddaear faith
Yn ol y gwaith a wnaeth pob un.

2 Heb gêl,
Pob llygad yna'n lân a'i gwêl,
Ac 'nol cyfiawnder pur y dêl;
Fe rydd ei sêl ar blant ei Dad;
A d'wêd, O dewch, fendigaid rai,
Rho'w'd yn ddi-lai i'ch deyrnas rad.

3 Y wlad,
Ac oll ro'w'd i mi gan fy Nhad,
Rof fi i chwithau 'nawr yn rhad;
Eich enw ga'd yn Wraig i'r Oen;
Anfeidrol fraint, anfeidrol fri,
'Rwy'n un a chwi trwy ddirfawr boen.

---

**96.** *Golwg ar fuddugoliaeth.* 8, 7.

1 FE dderfydd pob gofidiau maith,
Fe dderfydd gwaith rhyfela;
Daw dydd i'r saint i gwrdd y'nghŷd,
I ganu gyd Hosanna.

2 Daw dydd gorchfygir pechod cas,
Ceir gweled gras yn frenin;
Daw'r dydd i rwymo'r ddraig heb fraw,
Daw'r llew yn llaw y plentyn.

3 Ar ol tymhestloedd, gwynt a gwlaw,
Yn fuan daw tawelwch;
Daw Sïon wan ar fyr o dro
Yn gadarn o'r anialwch.

---

**97.** *Sylwedd y sarph bres.* M. H.

Num. xxi, 8, 9. Ioan iii, 14, 15.

1 FEL Moses gynt mewn anial fan,
Pan gododd sarph o bres i'r lan;
Felly dyrchafwyd Crist ei hun,
Pan ddaeth i achub marwol ddyn,

2 Trwy edrych ar y sarph o bres,
I'r clwyfus gorph ceid bywiol les;
A'r hwn a gred yn Iesu gwiw,
Caiff trwyddo fry'n drag'wyddol fyw.

3 Ar bren y felldith hoeliwyd ef,
Ond 'nawr mae'n eiriol yn y nef;
A'r myrdd a ga'dd gan satan friw,
Trwy gredu ynddo fyth gânt fyw.

4 Fy ngolwg arnat, Iesu, sydd,
Rho'th ras, wrth raid, i nerthu'm ffydd;
Dirymma wenwyn pechod cas,
A rho i'm henaid iechyd gras.

---

**98.** *Golwg ar y Ganaan nefol.* 8, 7, 4.

1 FY ENAID, esgyn i ben Pisga,
Yn dy ffordd ar aden ffydd;
Cymmer ddrych o'r fath eglura',
Dewis deg oleuni'r dydd:
Gwel oddiyno, &c.
Hardd gyffiniau'r Ganaan gu.

2 O mor wynion yw ei bryniau,
Gan y goleu s'yno i gael!
Hyfryd odiaeth yw ei ffrydiau,
Fyth yn rhoi y fendith hael!
Llifa'r Ganaan, &c.
Hoff ei gwedd gan laeth a gwîn.

3 Perarogla'i meusydd gleision
Gan anfarwol flodau hardd;
Ffrwythau iachus a melusion
Gesglir yno'n ddiwahardd:
Pren y Bywyd, &c.
Dros y fro a leda'i frig.

**99.** *Dyddiau da i ddyfod.* 11au.

Joel ii. 28—32. Act. ii. 16—21.

1.

FE welir rhyw ddyddiau, fy Arglwydd a'i gŵyr,
Pan darddo goleuni y'nghysgod yr hwyr;
Pan ddelo'r gorllewin, y dwyrain, a'r de',
A'r gogledd i brofi cawodydd y ne'.

2.

'R addewid gyflawnir ar ddinas a gwlad,
'R addewid rasusol a roddodd y Tad;
Tywelltir yr Yspryd fel moroedd di-drai,
Ar lwythau'r holl ddaear yn fwy ac yn llai.

3.

Y meibion a'r merched yn hyfryd y'nghŷd,
Prophwydant, canmolant Iachawdwr y byd;
Henafgwyr freuddwydiant freuddwydion o hedd,
Prin gallant eu credu, er profi'r fath wledd.

4.

O ddyddiau dedwyddaf, prysurwch y'mla'n,
Ymwawriwch yn fuan ar fawr ac ar fân!
O Yspryd yr Arglwydd, anadla'n dy bryd
Ar holl laddedigion dyffrynoedd y byd!

---

**100.** *Gogoniant yr Eglwys.* 8, 8, 8.

1 FE welir Sïon fel y wawr,
Er tlotted yw ei gwedd yn awr,
Yn dod o'r cystudd mawr i'r lan;
Heb glaf na chlwyfus yn ei phlith,
Yn y cyfiawnder dwyfol byth,
Saif Duw'n y diwedd ar ei rhan.

2 Pan losgo'r dda'r a threulio'r nef,
Fe saif ei eiriau ffyddlon ef
Yr un i drag'wyddoldeb ddydd;
Pan d'wyllo'r haul, a gwridio'r llo'r,
Pan syrthio'r sêr, a sycho'r môr,
Fy Nuw i drag'wyddoldeb fydd.

---

**101.** *Esgyniad Crist.* 7au.

1 FRY esgynodd Mab y Dyn,
Trwy ei werthfawr waed ei hun;
Dwyn tystiolaeth wnaeth y nef
I fawr werth ei aberth ef.

2 Daeth i'w gwrdd angylion lu,
Seinient trwy'r uchelder fry,—
Agor, nef, dy byrth yn awr,
I roesawu'r Brenin mawr.

3 Eistedd mae'n Cyfryngwr mad
Ar orseddfa'i nefol Dad;
Eiriol yno wna o hyd
Dros ei bobol yn y byd.

4 Gwaith gorphenol Iesu yw
Iechydwriaeth dynol ryw;
Ac ni fwrw ymaith un
Ddel am fywyd atto'i hun.

---

**102.** *Oen y Pasg.* M. B.

1 Cor. v. 7, 8.

1 FRY wele Oen y Pasg,
Yn marw ar y pren;
Ac yn aberthu yno'i hun,
Gael dyn i'r nefoedd wen.

2 Fry, wele'n beiau gyd
Yn cwrddyd arno ef,
Ac am y rhai'n fe deimlodd bwys
Melldithion deddf y nef.

3 Hedd a maddeuant llawn
A gawn trwy rin ei wa'd;
A gwaredigaeth gyflawn sydd
I gaethion prudd yn rhad.

4 Boed byth i bob dyn byw
Roi clod i'r Oen y'nghŷd;
Y bara ddaeth o'r nefoedd yw,
Rhoi bywyd mae i'r byd.

5 Boed ini gadw'r ŵyl
A bara croyw i gyd;
Mewn purdeb a gwirionedd glân,
Heb lefain bai na llid.

---

**103.** *Ganwyd i chwi heddyw Geidwad.* M. H.

Luc ii. 8—14.

1 FY enaid, deffro, dyma'r dydd
I weled Crist â golwg ffydd;
A chlywed araeth angel Duw
Am eni Ceidwad dynol ryw.

2 Ei gennadwri dirion ef
Oedd, "Ewch hyn dro i Bethle'm dref;
Mewn preseb gwael yn faban byw
Cewch weled Ceidwad dynol ryw."

3 Daeth gydag ef angylion lu
Yn bêr eu cân y bore cu;
Nefolion daeth yn moli Duw,
Am eni Ceidwad dynol ryw.

4 "I Dduw gogoniant fo uwch ben,
Tangnefedd ar y dda'r îs nen;
Ewyllys da i bob dyn byw:"
Can's ganed Ceidwad dynol ryw.

5 Fel hyn y canent ar yr ŵyl:—
Bydd dithau, f' enaid cu, mewn hwyl
I ganmol a chlodfori Duw,
Am eni Ceidwad dynol ryw.

---

**104.** *Deisyfu lle parod yn y nef.* M. B. D.

1 FY ngweddi, dos i'r nef,
Yn union at fy Nuw;
A dywed wrtho ef yn daer,
Attolwg, Arglwydd, clyw:
Cwblhâ d' addewid wych
I'm dwyn i'r nefoedd wen,
Yn Salem fry par'to fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen.

2 Pererin llesg a llaith,
Dechreuais daith oedd bell,
Trwy lu'm gelynion mawr eu brâd,
Gan geisio gwlad sydd well:
Iachâ bob clwyf a brath
A dail y bywiol bren;
Yn Salem fry par'tô fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen.

3 'Rwy'n gwel'd yr oriau'n hir
I fod o dir fy ngwlad;
Bryd deuaf at fy mrodyr fry,
Sy'n canu'n nhŷ fy Nhad?
Gael gorphen ar fy ngwaith,
A'm gyrfa faith îs nen:
Yn Salem fry par'tô fy lle,
Mewn llys o fewn i'r llen.

**105.** *Profiad ansefydlog.* M. C.

1 GALARU 'r wyf mewn dyffryn du,
Wrth deithio i dŷ fy Nhad;
Ar ben y bryniau'n llawenhâu,
Wrth weled cyrrau'r wlad.

2 'Rwy'n ddu fy lliw, mae'm gwisg yn wèn,
'Rwy'n llawen ac yn brudd;
'Rwy'n agos iawn, ac etto 'mhell,
'Rwy'n waeth, 'rwy'n well bob dydd.

---

**106.** *Gobaith, angor yr enaid.* M. H.

Heb. vi. 17—20.

1 GOBAITH yw angor f' enaid drud,
Wrth groesi ce'nfor garw'r byd;
Er maint yw grym y gwynt a'r don,
Fe'm cynnal hwn trwy'r fordaith hon.

2 Addewid ddianwadal Duw,
Yw cysur cryf fy enaid byw;
Ac yma tafla'm hangor lawr
Y'nghanol tonnau moroedd mawr.

3 Os cyfyd tonnau mwy a gwynt,
Nâ'r rhai a gwrddais ar fy hynt;
Mae gafael f' angor cryf uwch ben
Am Iesu'n llwyr tu fewn i'r llen.

---

**107.** *Cynhauaf tymherus.* 8, 7.

1 GOFALA Duw a Thad pob dawn,
Yn dyner iawn am danom;
Mae'n tai yn llawn o'i roddion rhad,
O boed ei gariad ynom.

2 Y cynnar wlaw a'r tirion wlith
Ddiferant fendith iraidd;
Y dda'r a rydd ei ffrwythau da,
A'r haul gyfranna'i rinwedd.

3 Ymlawenhâwn o'i flaen yn awr,
Mae'n flwyddyn werthfawr 'leni;
Mae'r gwair a'r gwenith gwych dan gudd,
A'n meusydd wedi'u medi.

4 Am ffrwythau hael y flwyddyn hon,
A'i mawrion drugareddau;
Moliannwn enw Duw bob dydd,
Gan iawn ddefnyddio'n breintiau.

---

**108.** *Yr Emyn ar ol y Cymmun.* M. H.

1 GOGONIANT fyth a fo i Dduw,
Yn yr uchelder, lle mae'n byw;
Tangnefedd ar y ddaear gron,
Ewyllys da i ddynion hon.

2 Cei fawl a bendith gennym ni,
Addolwn, gogoneddwn di;
Dïolchwn am d' ogoniant mawr,
O Dduw, a Brenin nef a llawr.

3 O Arglwydd Crist, ein Iesu mâd,
Ein Duw, ac unig Fab y Tad;
Oen Duw, sy'n tynnu ffwrdd i gyd,
Yn ddiddig iawn, bechodau'r byd:

4 Ti, sy'n dilêu pechodau'r byd,
Ein beiau mawr O maddeu i gyd!
Ti, 'r hwn wyt ar ddeheulaw'r Tad,
Ein gweddi clyw, a moes dy rad.

5 Ti'n unig, Crist, yn sanctaidd sy,
Ac unig Arglwydd pawb wyt ti;
Ti, gyda'r Yspryd sanctaidd yw
'R Goruchaf y'ngogoniant Duw.

---

**109.** *Erfyn presennoldeb Duw.* 8, 7.

1 GOSOD babell y'ngwlad Gosen,
Dere, Arglwydd, yno'th hun;
Gostwng o'r uchelder goleu,
Gwna dy drigfan gyda dyn:
Tyr'd i Sïon, aros yno,
Lle mae'r llwythau'n dod y'nghŷd;
Byth na 'mâd oddiwrth dy bobol,
Nes yn ulw 'r elo'r byd.

2 Blinais ar afonydd Babel,
Wylo yno sydd o hyd;
Llais telynau hyfryd Sïon
Sydd yn cysson dynnu 'mryd;
Tyr'd â ni yn dorf gariadus,
O gaethiwed Babel fawr;
Ac nes bo'm ar fynydd Sïon,
Na'd ni osod troed i lawr.

---

**110.** *Parhâd gras.* 2, 8.

1 GRAS, gras,
Eginyn byw, eginyn bras,
Er cwrdd â rhyfel ar y ma's,
Fe dyf yn las, fe wreiddia lawr;
Mae'i wreiddyn yn y nef y'nghudd,
Fe ddal yn nydd y storom fawr.

2 Y'mla'n
A ni trwy ddŵr a fflamiau tân,
Heb ofni llewod fawr na mân,
Nes myn'd yn lân i Sïon fryn,
At Iesu mawr,—mae etto'n fyw;
Fy enaid gwiw, cân byth am hyn.

---

**111.** *Ail ddyfodiad Crist.* 8, 7, 4.

1 GWELIR Iesu'n ogoneddus
Yn ei ail ddyfodiad glân,
Gwelir miloedd iddo'n plygu
Na phlygasant iddo 'r bla'n;
Gwelir hefyd, &c.
Fyrdd yn dechreu llawenhau.

2 Gwelir cystudd, gwelir galar,
Yn ffoi ymaith gydâ brys;
Gwelir gwir orfoledd eilwaith
Wedi hyn yn llanw'r llys;
Gwelir gwynfyd, &c.
Yn ddigymmysg, yn ddi-drai.

3 Melus fydd y fwyn gyfeillach
Yn y pur ogoniant maith;
Melus fydd cyd-ganu'r anthem,
O'r un yspryd a'r un iaith;
Melus meddwl, &c.
Na fydd raid ymadael mwy.

---

**112.** *Gwledd yr Efengyl.* 6, 8.

Esay xxv. 6.

1 GWNAETH hael Dywysog hedd,
Y'mynydd mawr ei dŷ,
Frenhinol freiniol wledd
I bawb ddel iddi hi:
Gwledd yw o basgedigion bras,
A gloyw win o beraidd flas.

2 Trugaredd, hedd, a rhad,
A hoff gymdeithas Duw,
Bwrcaswyd in' â gwa'd
Gwaredwr dynol ryw,
Yw'r drud ddanteithion sydd i'w cael
Y'ngwledd yr Arglwydd yn ddi-ffael.

3 I'r cloff, a'r dall, a'r tlawd,
Mae groesaw ddod i hon;
Cânt oll gan Grist ein Brawd
Dderbyniad gwresog, llon:
Mae heddyw'n dweyd fod etto le,—
O f' enaid brysia atto fe.

---

**113.** *Hyder mewn gweddi.* 6, 8.

Heb. iv. 14—16.

1 GWRANDEWIR gweddi'r gwael,
Sy'n griddfan ar y llawr,
Mae'r Iesu'n eiriol fry
Ger bron yr orsedd fawr;
Derbynir ein gwylofus lef,
Trwy rin ei waed, y'nghanol nef.

2 Am hynny awn yn hy
At orsedd gras yn awr,
Daw'n rhwydd fendithion rhad,
Trwy rin y gwa'd i lawr;
Daw nerth wrth raid i'r gwanna'i gyd,
A chongcwest ar bleserau'r byd.

3 Tyr'd Iesu, tyr'd yn awr,
Dihidla lawr dy hedd;
Rho ini yn dy dŷ,
Fwynhau dy siriol wedd:
Mae'th hyfryd hedd fyrddiynau'n well
Na holl drysorau'r India bell.

**114.** *Maddeuant pechod.* 8, 7, 4.

1 GWYN ei fyd y dyn gwna'r Arglwydd
Faddeu'i bechod a'i holl fai ;
Duw yng Nghrist sydd Briod iddo,
Fe all mwyach lawenhâu :
Pwy all ddamnio, &c.
'Rhai fo'r Arglwydd yn ryddhâu ?

2 Beth yw golud byd a'i fwyniant,
'N wyneb rhad faddeuant Duw !
Nis gall pethau'r byd gyd-bwyso
A'r fath rodd i'r galon friw :
Gwerthfawroccach, &c.
Ydyw hon nag aur Periw.

3 Arwydd ydyw o'n mabwysiad,
Gwystyl cariad Duw a'i hedd ;
Carreg wen a'r enw newydd
Nid adnebydd ond a'i medd :
Fe'n cysura, &c.
Yma a thu draw i'r bedd.

---

**115.** *Diogelwch y credadyn.* 8, 7.

1 GWYN fyd y dyn a gred yn Nuw,
Efe gaiff fyw'n drag'wyddol ;
Ei hyder sanctaidd cadarn sydd
Fel mynydd Sion siriol.

2 Trag'wyddol fraich trugaredd gu
Sy'n amgylchynu 'i enaid ;
A'r mwyn Iachawdwr mawr ni choll
Fyth un o'r holl ffyddloniaid.

3 Gafaelu wnelo'r duwiol 'nawr
Ar allu dirfawr dwyfol ;
A'i Geidwad doeth, galluog, da,
A'i gwared yn drag'wyddol.

**116.** *Rhagoriaeth cariad.* 8, 7.

1 Cor. xiii, 13.

1 GWYN fyd y galon bur lle mae
Grasusau yn teyrnasu;
Cariad yw'r pennaf o'r rhai hyn,
A chariad sy'n eu nerthu.

2 Gwybodaeth, och! ni thal hi ddim,
Nac ofnau llym na doniau;
'Dyw ffydd na gobaith chwaith o fudd,
Os cariad fydd yn eisiau.

3 Hwn ydyw'r gras yn fyw a fydd,
Pan ddarffo ffydd a gobaith;
A hwn a dery'r peraidd dant,
Y'ngwlad gogoniant eilwaith.

---

**117.** *Y meirw yn yr Arglwydd.* 8, 7.

Dat. xiv. 13. 1 Thes. iv. 13, 14.

1 GWYN fyd y rhai yn marw sydd
Yn ffydd yr Arglwydd Iesu;
Ië, gwyn eu byd y rhai'n i gyd,
O'r glân ddiweddbryd hynny.

2 Fel hyn y d'wêd yr Yspryd Glân,
Can's maent yn diddan orphwys
Oddiwrth eu llafur, mewn rhyddhâd
Dedwyddol 'stâd paradwys.

3 Na fyddwn anobeithiol drist
Am neb yng Nghrist a hunant;
'Nol gado'r corph, maent gydag ef
Y'ngartref y gogoniant.

4 Os credu 'r ŷm yng Nghrist ein Pen,
'R hwn aeth i'r nen yn ddiau;
Mewn ennyd bach fe ddaw ei hun,
I'n dwyn i'r un trigfannau.

**118.** *Dedwyddwch pobl Dduw.* 2, 8.

1 GWYN fyd
Y sawl ag sydd o isel fryd,
Yn caru Duw a'i iechyd drud;
Er maint yw gofid y rhai hyn,
Y'nglŷn gwylofain ronyn bach,
Hwy ddont yn iach i Sïon fryn.

2 Dros nawn,
Yn ol y gair, galaru gawn,
Ond fe ddaw bore hyfryd iawn,
Ac ini llawn orfoledd rhydd;
Pan dderfydd holl gystuddiau'r llawr,
Fe dŷr y wawr, a daw y dydd.

3 Pryd hyn
Cawn wel'd yr Oen fu ar y bryn
Yn goch o waed i'n golchi'n wyn,
Heb elyn i'n gorthrymmu mwy;
Na gofid, galar, poen, na gwae,
Ond llawenhâu mewn marwol glwy'.

---

**119.** *Wrth ymadael.* 8, 7.

HEDDWCH Duw, uwch dealltwriaeth,
Gadwo ein calonnau trist
Mwy y'nghariad a gwybodaeth
Duw ei hun, a'n Harglwydd Crist;
Hefyd bendith Duw bendigaid,
Tad, Mab, Yspryd, Un a Thri,
Fyddo arnom byth, bob enaid,
Ac a drigo gyda ni.
*A chanwn yn hyfryd, mewn gwynfyd uwch ben,*
*I'r Undod mewn Trindod,*
*A'r Drindod mewn Undod,*
*Haleliwia, Haleliwia, Haleliwia. Amen.*

**120.** *Crist, yn Arglwydd pawb.* M. H.

1 HENFFYCH i enw'r Iesu gwiw,
Syrthiwch o'i flaen, angylion Duw;
A choron bennaf Brenin nef
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

2 Chwi seintiau a merthyron glân,
Ger bron y faingc sy'n bêr eich cân;
Rhowch iddo glod ag uchel lef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

3 Chwi saint trwy gyrrau'r dda'r i gyd,
A brynwyd ganddo oll mor ddrud;
Cyd-unwch 'nawr â theulu'r nef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

4 Doed pob rhyw lwyth a phob rhyw iaith,
Trwy holl derfynau'r ddaear faith,
I ganu'n llafar iawn eu llef,
Yn Arglwydd pawb coronwch ef.

5 O am gael gyda'r nefol gôr,
Fry syrthio lawr wrth draed ein Iôr;
Ac uno'n llon â hwy ein llef,—
Yn Arglwydd pawb coronwch ef!

---

**121.** *Y Sabbath.* 8, 7.

1 HWN ydyw'r dydd a drefnodd Duw,
I ddynion i'w ddefnyddio
Yn ei wasanaeth ef yn ddwys,
Gan gyflawn orphwys arno.

2 Sancteiddiodd Duw y seithfed dydd,
I ni gael budd ysprydol;
Gwybodaeth lawn o'i gyfraith lân,
A hoff ddiddanwch nefol.

3 Yn unfryd de'wn i foli Duw,
Ei wyneb heddyw ceisiwn;
Gwrandewn ei air sy'n dygyd hedd,
A mawr orfoledd meddwn.

4 Cawn fry yn bêr ei foli byth,
Cawn ganu 'mhlith angylion;
A threulio hir sabbathol ddydd
Ar sanctaidd fynydd Sïon.

**122.** *Dydd yr Arglwydd.* 8, 7.

1 HWN ydyw'r dydd a wnaeth ein Duw,
A gwerthfawr yw yr oriau;
De'wn ger ei fron o gywir fryd,
Gan barchu'r hyfryd foreu.

2 Do, anrhydedodd Iesu'r dydd,
Ca'dd ynddo fuddugoliaeth
Ar uffern boeth, ar allu'r bedd,
Maluriodd gledd marwolaeth.

3 Gorfygodd Crist bob gelyn cryf,
Yn awr fe dyf ei deyrnas;
Nes llanw'r ddaear hon a hedd,
A mawr orfoledd addas.

**123.** *Tragywyddoldeb yn dynesu.* 6 llin. 8au.

1 HYD yma'n cynnorthwyodd Duw,
Trugaredd fawr yw bod yn fyw;
Ffy blwyddau'n hoes o un i un,
Fel cysgod haul ar ddeial dyn :|
Nes nes bob dydd yw pen ein taith,
Nes nes yw trag'wyddoldeb maith.

2 O tywys di, O Dduw, ein tra'd
Ar hyd y ffordd i'r nefol wlad;
A phan ddel angau llym â'i gledd
I'n torri lawr, a'n dwyn i'r bedd,
O saif pryd hyn yn wir o'n tu,
A dwg ni'n iach i'r nefoedd fry.

**124.** *Wrth ymadael.* M. H. D.

IACHAWDWR! seinied nef a llawr,
Iachawdwr! gyda ni sy'n awr;
Ei gariad llawn, a'i rym fel lli',
Orlenwo ein calonnau ni!
Ni phery'r ymdrech ddim yn faith,
Mae ereill gwedi cefnu'r daith!
Cawn fyw mewn gwlad heb unrhyw glwy',
Na raid ymado â'n gilydd mwy.

**125.** *Crist, Bugail eneidiau.* M. H.

1 I DDUW boed clod am gariad cry',
A chlod i Grist ein Ceidwad cu;
Dirmygu wnaeth y gwarth a'r gwawd,
I achub dynion euog tlawd.

2 Trwy dristwch a thrwy angau'r aeth,
Er mwyn pechadur cyndyn caeth;
Mawrhâodd, Nêr, dy ddeddf yn wir,
A gorphen wnaeth d' ewyllys bur.

3 'Roe'm ni, heb geisio d'od yn ol,
Fel defaid wedi crwydro'n ffol;
'Roe'm wedi troi o'th ffyrdd i ma's,
A dewis llwybrau pechod cas.

4 Daeth ef, y Bugail da, i'r byd,
I'n dwyn yn ol i'th gorlan glyd;
A'n coledd mae 'r hyd llwybrau cu,
A'n dwg i fryn Caersalem fry.

5 Y clod rhoed pob creadur byw
I'r unig ddoeth, drag'wyddol Dduw;
'R hwn roes ei Fab i'r groes a'r bedd,
Fel caem fwynhâu ei fythol hedd.

---

**126.** *Y Drindod mewn Undod.* 6, 8.

1 I DDUW'r anfarwol Dad
Rhown fawl â llafar lef;
Am oll fwynhâwn yn awr,
A'n gobaith am y nef:
Anfonodd ef ei Fab ei hun
I farw dros bechodau dyn.

2 I Dduw'r trag'wyddol Fab,
Boed moliant fyth heb drai;
Fe'n prynodd ni â'i waed,
Fe'n ceidw ni rhag gwae:
Ar orsedd nef teyrnasa 'nawr,
Gan weled ffrwyth ei lafur mawr.

3 I Dduw yr Yspryd Glân,
Rhown oll ogoniant gwiw;
O'i allu mawr a'i ras,
Gwna'r enaid marw'n fyw;
Cwblhâu mae'r gwaith ddechreuodd Crist,
Ac estyn hedd i'r enaid trist.

4 Rhoer byth trwy'r dda'r a'r nen,
Anfarwol fawl i ti,
Dad, Mab, ac Yspryd Glân,
Drag'wyddol Un a Thri:
Sef Duw ein iechydwriaeth gref,
A'n dwg o'r byd i deyrnas nef.

**127.** *Ffoi at Grist am noddfa.* 7au.

1 IESU, Cyfaill f' enaid gwan,
Attat ffoi am noddfa'r wyf;
D' aden dyner droswyf tàn,
Tra'r y môr tymhestlog b'wyf:
Cudd fi, O fy Arglwydd, cudd,
Nes êl heibio'r storom gref;
Yn arweinydd imi bydd,
Nes b'wyf mewn yn nheyrnas nef.

2 Noddfa arall gwn nid oes,
Ond dy hun i'm henaid gwan;
Grym o hyd i eiddil moes
'Dd'od o'r dyrus fyd i'r lan:
Ynot, Iesu, heb lesgâu,
Boed f' ymddiried tra fwy' byw;
Nerth rho imi i barhâu,
Nes d'od adref at fy Nuw.

---

**128.** AIL RAN. 7au.

1 IESU, pob peth ynot mae,
Mwy nâ phob peth ynot sydd;
Cyfod di'r syrthiedig rai,
Ac i'r cleifion meddyg bydd;
Rho i'r gwan gysuron llawn,
Deillion tywys yn dy ffyrdd;
Ninnau yn drag'wyddol rown
Ar dy ben fendithion fyrdd.

2 Ynot mae digonol ras,
Gras i faddeu pechod mawr;
Aflan wyf, o fewn, o fa's,
Gwna fi'n ddisglair fel y wawr:

Ffynnon bywyd f' enaid gwiw,
Rho im' gysur ar fy nhaith;
Llonna'm hysbryd tra b'wyf byw,
Tardd i drag'wyddoldeb maith.

---

**129.** *Ymhyfrydu yng Nghrist.* M. C.

1 IESU, difyrwch f' enaid drud
Yw edrych ar dy wedd;
Ac mae llyth'rennau'th enw pur
Yn fywyd ac yn hedd.

2 O dan dy aden dawel di
'Rwyf yn dymuno byw,
Heb ymbleseru fyth mewn dim
Fel cariad at fy Nuw.

3 'Does gennyf ond dy allu mawr
I'm nerthu fyn'd y'mla'n;
Dy iechydwriaeth yw fy ngrym,
Fy nghongcwest, a fy nghân.

4 Melusach nag yw'r diliau mêl
Yw munud o'th fwynhâu;
Ac nid oes gennyf bleser sydd,
Ond hwnnw, yn parhâu.

---

**130.** *Iesu, y Cyfaill goreu.* M. C.

1 IESU yw'r Cyfaill goreu'n wir,
Ac ynddo mae fy nghred;
Neb ond ei hunan ddwg fy maich,
Ei hunan dâl fy n'lêd.

2 Fe wrendy 'nghri pan elwy'n wan,
Ei gariad sydd yn fawr;
Ac fyth nis gedy'n hir fi gael
Fy nghuro ar y llawr.

3 O nid oes gyfaill mewn un lle,
Cyffelyb iddo'n bod;
Pe baem i chwilio'r ddaear faith,
A holl derfynau'r rhod.

4 O bob rhyw ddoniau mae yn llawn,
Anfeidrol yw ei rym;
Ac nid oes pwysau ar ei ras,
Na'i haeddiant dwyfol ddim.

5 Mae ei ffyddlondeb fel y môr,
Heb fesur, ac heb drai;
A'i drugareddau hyfryd sy
Byth bythol yn parhâu.

---

**131.** *Rhosyn Saron, &c.* M. H.

Can. ii. 1—3. Dat. xxii. 2.

1 IESU yw Rhosyn Saron mwyn,
A'r Lili mae'r dyffrynnau'n ddwyn;
A Phren y bywyd heb ei ail,
Ag iechydwriaeth yn ei ddail.

2 Fel lili'n tyfu 'mhlith y drain,
Neu bren afalau 'mysg y rhai'n;
'R un wedd yw fy Anwylyd drud
'Mysg miloedd o gariadau'r byd.

3 Mwy eistedd wnaf y'ngwres y dydd
Dan gysgod hwn, mor hyfryd sydd;
A'i ffrwyth i'm blas fydd melus iawn,
I'm henaid llwm yn ymborth llawn.

---

**132.** *Dammeg yr Hauwr.* M. C.

1 I'R Hauwr hael i hau ei had,
Ein tir par'town yn awr;
I daenu'n rhwydd fendithion rhad,
I'r maes daeth Iesu mawr.

2 Yr had ddisgyna ar y graig,
Yn glau egina'n wir;
Ond gwywo'n fuan hefyd wna,
Am na fedd ddyfnder tir.

3 Un ysgafn-ben anffrwythlawn yw
'R hwn dŷf y'mhlith y drain;
'Does obaith am gynhauaf da
Wireddir gan y rhai'n.

4 Yr had a syrth ar fin y ffordd
A' gipir ffwrdd bob pryd;
Yr adar mân ei ddifa maent,
Eu 'sglyfaeth yw i gyd.

5 Ond lle yn dda y gwnaed y tir,
Trwy rinwedd dwyfol ras;
Mor ffrwythlawn ydyw'r eur-liw gnŵd
I'r medwr ar y ma's.

6 'R ŷm ni mewn eisiau mawr o'th ras,
O Dduw, i'n parotoi;
O boed i'r Hwn a rydd yr had,
I'r tir ffrwythlonder roi!

---

**133.** *Crist yn Arweinydd.* M. B. D.

1 I'R Iesu boed y clod,
Tra fyddo bod a byd,
Efe oedd cyn y diluw mawr,
Efe sy'n awr o hyd,
Yn gyfaill ac yn Dduw
Pob llwythau, rhyw, ac iaith;
Efe a'n harwain ni uwch nen;
Yn gryno i ben ein taith.

2 Nid yr Iorddonen faith,
All rwystro'n taith y'mla'n,
Fe gronna'r dwr, ni'n hettyl ddim,
Fe ddiffydd grym y tân:
'Does neb a fedd fath fraint
A'r saint o dan y nef,
Sy'n cael eu dwyn trwy lif a thòn,
Yn ffyddlon ganddo ef.

---

**134.** *Buddugoliaeth Crist.* 5, 6.

1.

LLAIS hyfryd rhad ras sy'n gwaeddi dihangfa,
Y'nghlwyfau Mab Duw, bechadur, mae [noddfa;
I olchi aflendid a phechod yn hollol,
Fe redodd ei waed yn ffrydiau iachusol:
Haleliwia i'r Oen ennillodd faddeuant,
'Nol croesi'r Iorddonen, drachefen rhown foliant.

2.

Ar angau a'r bedd ca'dd lawn fuddugoliaeth,
Yspeiliodd holl rym y fagddu ar unwaith;
Holl filwyr ei groes gânt ynddo dangnefedd,
Fe'u harwain yn lân i berffaith orfoledd:
Haleliwia i'r Oen ennillodd faddeuant,
'Nol croesi'r Iorddonen, drachefen rhown foliant.

3.

'Nol tirio yn iach i'r tawel anneddau,
Ni seiniwn ei glod ar euraidd delynau;
Mewn nefol ardaloedd fe'i molwn byth bythol,
Wrth rodio ar lan yr afon drag'wyddol:
Haleliwia i'r Oen ennillodd faddeuant,
'Nol croesi'r Iorddonen, drachefen rhown foliant.

**135.** *Ac etto y mae lle.* M. H.

Luc xiv. 17—23.

1 LLEFWCH, genhadon Duw, o'hyd,
O wele waed Iachawdwr byd!
Cymhellwch bawb ddod atto fe,—
Mae'r Iesu'n dweyd fod etto le.

2 Chwi rai newynog tlawd nesêwch,
O amgylch bwrdd Messïa dewch;
Gwrandewch ei lais a'i alwad e',—
Mae'r Iesu'n dweyd fod etto le.

3 O dewch i freichiau'r Iesu gwiw,
A phrofwch pa mor hawddgar yw;
Chwi gewch eich groesaw ganddo fe,
Mae'r Iesu'n dweyd fod etto le.

---

**136.** *Llwyddiant yr Efengyl.* M. C.

1 LLEWYRCHED gwir oleuni'n glau,
Trwy gyrrau'r ddaear gron;
Aed gras efengyl Iesu gwiw
At bob rhyw lwyth o'r bron.

2 Diflanned rhagrith, crefydd gau,
Pob pechod, bai, a chas;
A gwir dduwioldeb yn ei grym
A lanwo'r ddaear las.

3 Gorllewin, dwyrain, gogledd, de',
Fo'n ceisio'r ne' y'nghŷd;
Gan ganu'n llon o gylch y llawr
I Brynwr mawr y byd.

*Aed ei air i blith y werin*
*Sy'n y dwyrain a'r gorllewin,*
*Sy'n y de' a'r gogledd gerwin;*
*Caner iddo, caner iddo,*
*Haleliwia 'gylch y byd.*

**137.** *Duw yn anghyffredadwy.* M. C.

1 LLON'D nefoedd fawr, llon'd bydoedd maith,
Llon'd uffern hefyd yw;
Llon'd trag'wyddoldeb maith ei hun,
Diderfyn ydyw Duw.

2 Mae'n llon'd y gwagle yn ddi-goll,
Ei air a'i allu'n un;
Anfeidrol, annherfynol Fôd,
A'i hanfod ynddo'i hun.

3 Un hunan-fodol ydoedd ef,
Cyn llunio nef na llawr,
Yn nhrag'wyddoldeb pell yn ol
Yn Dduw anfeidrol fawr.

4 Heb ddechreu dyddiau iddo'n bod,
Na diwedd einioes chwaith;
Yn Drindod bur mewn Undod bydd
I drag'wyddoldeb maith.

**138.** *Daw y byd i foli Crist.* M. C.

1 MAE clywed newydd am y gwaed,
A gollodd Iesu'n lli',
Yn un o'r pethau mwya'u gwerth
A fedd ein daear ni.

2 Fe ddaw'r blynyddau pur i ben
Pan gwyd efengyl gras,
Fel haul ddisgleirwen yn y nen,
Yn gylch i'r ddaear las.

3 Disgwyliaf mwy yr hyfryd awr,
Boreuddydd Jubili,
Pan gano holl drigolion llawr
Am angau Calfari.

*Aed ei air i blith y werin,*
*Sy'n y dwyrain a'r gorllewin,*
*Sy'n y de' a'r gogledd gerwin;*
*Caner iddo, caner iddo*
*Haleliwia 'gylch y byd.*

---

**139.** *Crist yn Gyfaill gwell na brawd.* M. C.

Diar. xviii. 24.

1 MAE Crist yn Gyfaill ffyddlon iawn,
I bob credadyn tlawd;
A Brawd yn angau du ei hun
Pan fetho chwaer a brawd.

2 O holl gariadau'r dda'r i gyd,
O'r dwyrain faith i'r de';
Ni feddir câr na chyfaill chwaith
Yn ffyddlon fel efe.

3 Mae'n medru cyd-ymdeimlo'n lân
A gwaelaf lwch y llawr;
A charu heb gyfnewid dim
I drag'wyddoldeb mawr.

---

**140.** *Ffynnon i bechod ac aflendid.* M. B.

Zec. xiii. 1.

1 MAE Ffynnon ar y bryn,
A ylch yn wyn a glân,
Bechodau gwaetha'u rhyw erio'd,
Rifedi'r tywod mân.

2 Nid oes un amser drai
Yn ffrydiau'r ffynnon hon;
Mae'n ddigon byth i olchi bai
Holl blant y byd o'r bron.

3 Hi ganna'r Negroes du,
Hi ganna'r Indiaid draw;
Fe ylch yr aflan oes y sy,
Fe ylch yr oes a ddaw.

4 Mae rhinwedd yn dy wa'd
I faddeu beiau mwy,
Nas cyfrif engyl nefol wlad,
A'u helaeth ddoniau hwy.

5 Am hynny gwnaf fy nyth,
Y'mhlith rhai dua'u rhyw;
Mi dafla fy euogrwydd du
Yn hollol i fy Nuw.

**141.** *Hiraethu am burdeb.* 8, 7, 4.

1 MAE fy natur wedi'i llygru
Drwyddi oll, gan bechod cas;
Arglwydd, crëa fi o'r newydd,
Tro fy nghalon â dy ras:
Rho dy gyfraith, &c.
Yn fy meddwl, O fy Nuw.

2 Yspryd Crist yn trigo ynof,
Er mor waeled yw fy llun,
A gyfnewid f' enaid aflan
Ar ei ddelw ef ei hun:
'Rwy'n hiraethu, &c.
Am gael bod yn berffaith lân.

**142.** *Llawnder yr iechydwriaeth.* M. H.

1 MAE iechydwriaeth berffaith fawr
I'r gwaelaf rai ar wyneb llawr;
Cân saint di-rif, mewn nefol nyth,
Am dani oesoedd rif y gwlith.

2 O! dyma'r ffynnon sy'n iachâu,
A'r afon loyw sy'n glanhâu;
A thyma'r balm yn Gilead sydd,
I wella'r archolledig prudd.

3 Physygwr mwyn pawb attat ddaw,
Heb neb yn marw dan dy law!
Iachâ fy nghlwyf, aflanaf ddyn,
Nad all fy ngwella ond dy hun.

---

**143.** *Galwad i ado'r byd.* M. C.

1 MAE llais yn galw i maes o'r byd,
A'i bleser o bob rhyw;
O f' enaid, gwrando'r hyfryd sain,
Llais fy Anwylyd yw.

2 Iesu yw tegwch mawr y byd,
A thegwch penna'r nef;
Ac mae y cwbwl sydd o werth
Yn trigo ynddo ef.

3 Af mwy y'mlaen yn nerth y nef
Tua'r paradwysaidd dir,
Ac ni orphwysaf nes cael gwel'd
Fy etifeddiaeth bur.

---

**144.** *Ceisio gwlad well.* 6, 8.

1 MAE lluoedd maith y'mlaen,
Oes, o'u carcharau'n rhydd,
A gorfoleddu maen',
Oll wedi cael y dydd;
I'r lan, i'r lan dringasant hwy,
Yn ol eu traed y sengwn mwy.

2 Gadêwn yn ol i gyd
Y byd y cawsom wae,
Y byd ag sydd bob pryd
Yn ceisio'n llwfwrhâu;
A cheisiwn wlad uwch ser y nef,
Sydd fil o weithiau'n well nag ef.

3 Mae yno'r addfwyn Oen,
Fu farw ar y bryn,
Yn medi ffrwyth ei boen,
Yn hyfryd y pryd hyn;
A myrdd di-rif yn canu 'nghyd
I'r hwn fu farw dros y byd.

---

**145.** *Gobaith am y nef.* M. B. D.

1 MAE'm gobaith, er yn wan,
Gael dod i'r lan ryw bryd,
At Iesu fry i Sïon fryn,
A'm gwisg yn wyn i gyd;
I blith y dyrfa fawr,
Sy'n canu'n awr heb boen,
A'u gynau wedi'u cannu'n wyn
Y'ngwaed yr addfwyn Oen.

2 'Nol treulio yn y gwaith
Ryw oesoedd maith y'mla'n,
Nid oes dim blino yn eu plith,
Melusach fyth yw'r gân:
Cân newydd fydd o hyd,
Mewn bywyd pur di-boen,
Yn moli Duw am gariad rhad,
A gwerthfawr wa'd yr Oen.

**146.** *Myned yn hŷ at orsedd gras.* M. C.

1 MAE pyrth y nef o led y pen,
Mi welaf fôr o wa'd;
Lle gallwyf fi'r ffieiddiaf ddyn
Yn hollol gael iachâd.

2 Mae'r orsedd fawr yn awr yn rhydd,
Gwrandewir llais y gwan;
Wel, cyfod bellach, f' enaid prudd,
Anadla tua'r lan.

3 'Nawr anfon eirchion amal ri'
I mewn i byrth y nef;
Gwrandewir pob amddifad gri
Yn union ganddo ef.

4 Myfi anturia'n awr y'mlaen,
At orsedd Brenin ne';
Gan fod haeddiannol angau'r groes
Yn atteb yn fy lle.

---

**147.** *Cyntaf ac ail ddyfodiad Crist.* 5, 8.

Phil. iv. 4—7.

1 MAE'r amser ar ben, daeth Brenin y nen,
I'n hachub o'r nefoedd i lawr;
Bu farw'n ein lle, agorodd y ne',
Yn llawen, yn llawen b'om 'nawr.

2 I'n barnu fe ddaw, mae'r Arglwydd ger llaw,
Boed amlwg arafwch pob dyn;
Ar wagedd y byd na roddwn ein bryd,
Ni haedda mo gariad yr un.

3 Trwy weddi, bob dydd, trwy ymbil mewn ffydd,
Trwy ddiolch yn wastad, peth gwiw;
Yn hyspys, O gwnewn, y'mhob peth yn ewn,
Ein holl ddeisyfiadau i Dduw.

4 Can's heddwch yr Iôn, uwch deall a sôn,
A geidw galonnau'r fath rai;
Y'ngariad y Tad, a Iesu'r Mab rhad,
Er maint eu heuogrwydd a'u bai.

---

**148.** *Ffynnon iachawdwriaeth.* 6, 6, 8.

MAE'r ffynnon yn ddi-drai,
Sy'n golchi'r aflan rai,
Mae lle yn hon i bawb o'r bron
I gael eu llwyr lanhâu:
Ceir gweled llu o'r dynion du,
Oll wedi'u cannu'n wyn,
Trwy rinwedd gras yr afon las,
Bereiddia'i blas, a darddodd ma's
Ar ben Calfaria fryn.

---

**149.** *Manna yn yr anial.* M. B. D.

1 MAE'r manna gwedi'i gael,
Mewn dyrus anial dir;
Ymborthi caf ond myn'd ymla'n,
Ar ffrwythau'r Ganaan bur;
Mae yno sypiau grawn
Yn llawn o fewn i'r lle;
O Gyfaill euog ddyn! rho'th law,
A thyn fi draw i dre'.

2 Wrth feddwl am y wlad,
A ragbar'tow'd i'r plant,
A chyflawn degwch tŷ fy Nhad,
Mae ar fy nghalon chwant
I dirio fry uwch nen,
Tu draw'r Iorddonen gre';
O Gyfaill euog ddyn! rho'th law,
A thyn fi draw i dre'.

3 Anturiaf 'nawr yn hŷ,
Gan gyrchu at y nod;
Mi gefais, do, im' ffyddlon dyst,
Fe archodd Crist im' dd'od:
Fy mhechod ymaith tyn,
A chofia fi'n y ne';
O Gyfaill euog ddyn! rho'th law
A thyn fi draw i dre'.

---

**150.** *Nis gallasai dim roi Iawn ond Crist.* 8, 7.

Dat. xxii. 1. Mica vi, 7.

1 MANNA nefol s' arnaf eisiau,
Dwr rhedegog gloyw byw,
Sydd yn tarddu o dan riniog
Temel sanctaidd tŷ fy Nuw:
Golchi'r aflan, cannu'r Ethiop,
Gwneud yr euog brwnt yn lân:—
Bythol glod am hyn gaiff Iesu,
'Nol i'r ddaear fyn'd yn dân.

2 Fyth ni all'sai'm dyledswyddau,
Fyth ni all'sai ffrwyth y bru,
Mil o nentydd maith o olew,
Roddi iawn dros bechod du;

Dengmil hefyd o feheryn,
Neu'r holl beraroglau mân,—
Nac un dim, ond gwaed fy Mhrynwr,
All'sai olchi'r brwnt yn lân.

---

**151.** *Gwregysa dy gleddyf, &c.* 8, 7.

Psalm xlv. 3—5.

1 MARCHOG, Iesu, yn llwyddiannus,
Gwisg dy gledd y'ngwasg dy glun;
Ni all daear dy wrth'nebu,
Na holl uffern faith ei hun:
Mae dy arswyd trwy'r gre'digaeth,
Pob rhyw elyn gilia draw;
Mae dy enw mor ardderchog,
Pawb ddel attat maes o law.

2 Mi debygaf clywa'i heddyw
Sŵn caniadau draw o bell;
Tyrfa'n moli am ddihangfa,
Ac am ryddid heb ei well:
Gynau gwynion yw eu gwisgoedd,
Palmwydd hefyd yn eu llaw;
Iesu'n destyn cân a moliant,
A gofidiau'n cilio draw.

3 Minnau bellach orfoleddaf
Fod y Jubil fwyn yn dod,
Pan gyflawner pob addewid
Roddodd Iesu mawr erio'd:
Mil o filoedd, myrdd myrddiynau,
Ddaw o eithaf tywyll fyd,
Gyda sain yr udgorn arian,
Mewn i Salem bur ynghŷd.

**152.** *Emyn Brydnhawnol.* M. H.

1 MAWL, mawl, i Dduw am oleu'i ddydd,
A'i holl fendithion, rhoddion rhydd;
Duw'r duwiau, dïogela fi
Dan gysgod hoff dy edyn di.

2 Fy meiau'r dydd aeth heibio, Dad,
Pardyna'n rhwydd, er d' un Mab rhad;
Fel bo i'm huno'r noson hon
A'th heddwch melus dan fy mron.

3 Dysg fi i fyw, nad ofnwyf lan
Y bedd yn fwy na'm gorwedd fan;
Dysg fi i farw, fel o'r bedd
I'r farn y codwyf ar dy wedd.

4 O arnat pwysed f' enaid prŷn!
A'm llygaid selied melus hun;
Fel bo im' ddeffro'r bore glas
I'th foli'n well am ddoniau'th ras.

5 O molwch Dduw pob bendith ddrud,
Molwch ef, bawb trwy gyrrau'r byd;
Molwch ef, luoedd nef, ar gân,
Molwch Dad, Mab, ac Ysprydd Glân.

---

**153.** *Gorfoledd am adgyfodiad Crist.* 11au.

1.

MAWR iawn fu'r gorfoledd pan gododd ein Crist,
'Doedd ond ei elynion pryd hynny yn drist;
'Doedd neb yn y nefoedd, na neb ar y llawr,
I ofyn dim dyled i'n Harglwydd yn awr.

2.

Y gwragedd godasant i edrych y bedd,
I wel'd a gyfododd eu Harglwydd mewn hedd;
Wrth edrych, ofnasant, nid oeddynt ond gwan,
Ni welsant eu Harglwydd, ond gwelsant y fan.

3.

Fe grynodd y Ceidwaid, cwympasant i lawr,
P'odd gall'sent hwy oddef disgleirdeb mor
fawr?
Y weithred oedd ynfyd, roi dynion mor wan,
I rwystro Creawdwr y ddaear i'r lan.

4.

Wel, mwy gorfoleddwn, fe gafodd y dydd,
Fe'i rhwymwyd mewn beddrod, mae hedd-
yw'n ŵr rhydd;
Cawn ninnau adgodi o garchar y bedd,
Trwy ffydd yn ein Ceidwad cawn nefoedd o
hedd.

---

**154.** *Hwn fydd mawr.* 8, 7, 3.

1 MAWR oedd Iesu'n nhrag'wyddoldeb,
Mawr yn gwisgo natur dyn;
Mawr yn marw ar Galfaria,
Mawr yn maeddu angau'i hun:
Hynod fawr yw E'n awr,
Brenin nef a daear lawr.

2 Mawr yw Iesu yn ei Berson,
Mawr fel Duw, a mawr fel dyn;
Mawr ei degwch a'i hawddgarwch,
Gwyn a gwridog, hardd ei lun:
Mawr yw ef yn y nef,
Ar ei orsedd gadarn gref.

3 Mawr yw'r Iesu yn ei swyddau,—
Mawr fel Archoffeiriad glân;
Mawr fel Prophwyd, mawr fel Brenin,
Mawr fel Bugail o fy mla'n:
Mawr yw'r gwaith Iesu wnaeth,
Mawrglod gaiff trwy'r nefoedd faith.

**155.** *Mawredd Iesu.* 8, 8.

1 MAWR yw Brenin y brenhinoedd,
Mawr ei lwydd, a mawr ei luoedd;
Mawr ei ddeall, mawr ei allu,
Pwy mor fawr a'n Brenin Iesu!

2 Mawr gan Dduw, a mawr gan ddynion,
Mawr gan saint a'r holl angylion;
Mawr mewn parch ac mewn mawrhydi,
Pwy mor fawr a'n Brenin Iesu!

3 Mawr fel Arglwydd y gogoniant,
Mawr mewn enw ac mewn moliant;
Mawr fel Brenin yn teyrnasu,
Pwy mor fawr a'n Brenin Iesu!

4 Mawr ei gariad a'i amynedd,
Mawr yn rhinwedd ei drugaredd;
Mawr ei ras yn gwneud daioni,
Pwy mor fawr a'n Brenin Iesu!

---

**156.** *Golwg ar y nefoedd.* 8, 7.

1 MELUS mewn anialwch dyrus
Ambell drem ar fro y wlad,
Roddwyd i mi gan fy Ngheidwad
Yn drag'wyddol annedd rad:
Adsain bêr y gân ddiddarfod,
Golwg ar y bryniau draw,
Wna fy enaid llesg yn llawen,
Erlid ymaith bob rhyw fraw.

2 Draw i afon donnog angau,
Gwelaf gyrrau'r nefol dir,
Clywaf swn ei delynorion,
Dwndwr ei afonydd pur:

Yno gofid a ddiflanna,
Drygau hefyd o bob rhyw;
O am dd'od i'r ardal hyfryd,
Lle nad oes na phoen na briw!

---

**157.** *Llwgr dynoliaeth.* M. H.

1 MEWN bai'r ymddygwyd ni, O Dduw,
A'n geni wnaed yn aflan ryw;
Tarddasom maes o lwynau'r dyn,
Trwy'i gwymp a'n llygrodd bob yr un.

2 Ein llygredd cas a dŷf i'r lan
Cyn braidd anadlom fywyd gwan;
Dy ddeddf, perffeithrwydd ofyn hi,
Ond y'mhob rhan halogwyd ni.

3 Nid gwaed aderyn tô neu ŷch,
Nac isop nac offeiriad gwych;
Na dŵr rhedegog môr na lli',
All olchi ein halogrwydd ni.

4 Ond gwaed dy Fab, yr Oen di-fai,
Digonol yw i'n llwyr lanhâu;
A'n cannu'n wyn fel eira mân,
Er bod fel Ethiop du o'r bla'n.

---

**158.** *Prynu'r amser.* M. H.

Preg. ix. 10.

1 MEWN bywyd mae gwas'naethu Duw,
Dydd gras ac iechydwriaeth yw;
Tra paro'r lamp i losgi ma's,
Yr adyn gwaethaf all gael gras.

2 Bywyd yw'r amser roddes ef
I ochel uffern, ffoi i'r nef;
Pryd yw gall dynion euog gwael
Fendithion i'w heneidiau gael.

3 Am hynny'r hyn sydd yn fy mryd,
Boed im' ei wneud â'm hegni gyd;
Gan nad oes dyfais, gwaith, na hedd,
Na ffydd, na gobaith yn y bedd.

---

**159.** *Cyffes Job.* 8, 7.

Job. xix. 25—27.

1 MI wn, medd Job, o'r cynfyd cudd,
Mai byw'm Gwaredydd hawddgar;
Mi wn y daw fy Mhrynwr drud
Ar ddiwedd byd i'r ddaear.

2 Ac er fy mod i'n awr mewn poen,
Ac wedi 'nghroen i'r pryfed
Ddifetha hefyd y corph hwn,
Er hynny gwn caf weled

3 Y Duw anfeidrol yn fy nghnawd,
Ar ddydd gollyngdawd seintiau;
A'm llygaid i fy hun a'i gwêl
Ar dirion uchelderau.

---

**160.** *Duw yw gogoniant yr eglwys.* M. H.

1 MOR hardd, mor dêg, mor hyfryd yw
Dy babell sanctaidd di, O Dduw!
O fewn ei hoff fagwyrydd hi
Y cwrdd dy seintiau cu â thi.

2 Pan welom yno'th anwyl wedd,
Pan brofom yno'th hyfryd hedd;
Cyd-floeddio wnawn â llawen lef,
Ti'n dygaist ni i borth y nef.

3 Mae un diwrnod yn dy dŷ,
Dan wenau cain dy wyneb cu.
Yn well nâ mil y'ngwledd y ffol,
Sy'n gadael chwer'der blin ar ol.

4 Rho ini'r fraint o'th wel'd ar frys
O fewn dy lân fendigaid lŷs;
Prydferthwch penna'th babell yw
Dy bresennoldeb di, ein Duw.

---

**161.** *Addoliad cyhoeddus.* M. H.

1 MOR hyfryd gwel'd cyn'lleidfa fyw,
O fewn ei dŷ'n addoli Duw!
Mewn mawl a gweddi'n uno i gyd,
A dysgu'r ffordd i'r nefol fyd.

2 Mi fum, mi af i'r babell wen,
Mae fel rhyw nefoedd fach îs nen;
Ni chaiff a rydd y byd i'm rhan
Fy nghadw fyth o'r hyfryd fàn.

3 Athrawiaeth lân d' efengyl lon
Bob gair argraffa dan fy mron;
Na thorrwyf mwy dy ddeddfau mâd,
Ond carwyf di, fy nefol Dad.

4 Meddyliau mawr am Brynwr byd
A lanwo 'nghalon ffol i gyd;
A moes i mi, sy 'mron fy medd,
Trwy rin ei waed, dy hyfryd hedd.

---

**162.** *Crist yr Adgyfodiad a'r Bywyd.* 8,7.

Ioan xi. 25, 26.

1 MYFI yw'r Adgyfodiad mawr,
Myfi yw Gwawr y bywyd;
Caiff pawb a'm cred, medd f' Arglwydd Dduw,
Er trengu, fyw mewn eilfyd.

2 A'r sawl sy'n byw mewn ufudd gred
I mi, caiff drwydded nefol;
Na allo'r angau, brenin braw,
Ddrwg iddaw yn drag'wyddol.

---

**163.** *Y Bugail da.* M. H.

Can. i. 7, 8.

1 MYNEGA im' y Bugail mwyn,
Pa le 'r wyt ti'n bugeilio'th ŵyn?
B'le gwnai, O d'wed i'm henaid prudd!
I'th braidd i orwedd ganol dydd?

2 Paham, fy Arglwydd, y caf fi
Fyn'd heibio i'th ddeadell di?
O gad i'm henaid bellach fod
Yn eiddo Crist, yn dwyn ei nôd!

3 Dilynaf bellach ôl dy braidd,
Gan 'mofyn am dy bêr borfêydd;
Gwledd o ddanteithion yno sydd,
Gwledd lawn a lonna'm henaid prudd.

---

**164.** *Amynedd dan y groes.* M. H.

1 NA âd in' rwgnach, Arglwydd cu,
Dy lwybrau'n anchwiliadwy sy;
Rho ini nerth i droi pob gwae,
A grwgnach cas yn llawenhâu.

2 Yn foddlon gwna ni tra fo'm byw,
Gan adde'th farn mai cyfiawn yw;
Na ddiffodd dy drugaredd rad,
Er in' anghredu ei pharhâd.

3 Y'nghanol pob rhyw gystudd blin,
Dy ddoniau fo mewn cof bob un;
A bod dy dywyll lwybrau 'gyd
Yn fuddiol dda er dechreu'r byd

4 Er amled yw'r cystuddiau sydd
Yn blino'n hyspryd nos a dydd;
Cawn ganu'n iach ar nefol dir
I'n holl flinderau cyn bo hir.

---

**165.** *Edifeirwch am bechod.* 8, 7

1 NA thro dy wyneb, Arglwydd glân,
Oddiwrth un truan agwedd;
Y sydd o flaen dy borth yn awr,
Yn adde'i fawr anwiredd.

2 Nid rhaid im' adrodd yma'n faith
Fy holl ddrwg waith i'th erbyn;
Y dull à'r modd y pechais i
A wyddost ti bob gronyn.

3 O'm beiau oll, aneirif lu,
'R un rhagot ti ni chuddiwyd;
O ti a'u gwyddost hwynt i gyd,
A'r lle a'r pryd y gwnaethpwyd.

4 Na alw mo'nof ger dy fron,
I roddi union gyfrif;
Cydnabod wyf, O Arglwydd hael,
Y bywyd gwael oedd gennyf.

5 Y peth a geisiaf sy rodd wych,
Nid rhaid mo'i mynych enwi;
Tydi a'i gwyddost, Arglwydd, cyn
Im' ddechreu gofyn iti.

6 Trugaredd, Arglwydd, heb ddim mwy,
Yw'r cwbwl 'rwy'n ei geisio;
Trugaredd yw fy newis lwydd,
Trugaredd, Arglwydd, dyro.

**166.** *Cysgodau y nos yn cilio.* 6, 8.

1 'NAWR mae cymmylau'r nos,
Barhäodd amser mawr,
Yn agor ac yn ffoi
O flaen yr hyfryd wawr;
Fe gwyd yr haul, cawn wel'd yn wir
Ein hetifeddiaeth cyn bo hir.

2 Daw lluoedd heb un rhif,
O'r rhai tywyllaf gaed,
O gyrrau pella'r byd,
I brofi rhin y gwaed:
Cyhoeddir gwaredigol ras
Gan filoedd fyrdd o'r udgyrn glas.

3 Cyflawna, Iesu, 'th air,
Na'd sillaf fyn'd ar goll,
Nes dod pob iota fach
I fynu oll yn oll:
A dyfod oll sy'n awr, neu i ddod,
O'r nef i uffern, dan dy dro'd.

---

**167.** *Dydd yr Arglwydd a ddaw.* 7, 6.

1 NESAU, er gwae'r annuwiol,
Mae'r dydd diweddaf mawr;
Nesâu, er gwynfyd bythol,
I'r cyfiawn, mae bob awr:
I'r naill yn gyfiawn Farnwr,
Pan ddelo'r tanllyd ddydd;
I'r lleill yn llon Waredwr,
Yr Oen fu farw fydd.

2 Y dydd y gwelir Iesu
Ar orsedd fawr y nen,
Yr haul ni rydd oleuni,
Fel gwaed â'r lleuad wen:

Holl ser y nef a syrthiant
Fel mellt i'r eigion mawr;
Y môr a'i donnau ruant,
Ar dân bydd daear lawr.

3 O Iesu, gwrando'n gweddi,
Tra paro dydd dy ras;
Rho'th wir adnabod ini,
Cyn llosgo'n lamp i ma's:
Moes in' faddeuant pechod,
Dy Yspryd, a dy hedd;
Fel codom i'th gyfarfod
Yn llawen iawn o'r bedd.

---

**168.** *Newyddion da o wlad bell.* M. H.

1 NEWYDDION da a ddaeth i'n bro,
Hwy haeddant gael eu dwyn ar go';
Ennillodd Iesu mawr y dydd,
Caiff carcharorion fyn'd yn rhydd.

2 Mae Iesu Grist o'n hochor ni,
Tywalltodd ef ei waed yn lli';
Trwy rinwedd hwn fe'n dwg yn iach
I'r ochor draw 'mhen gronyn bach.

3 Wel, f' enaid, weithian cod dy ben,
Mae'r ffordd yn rhydd i'r nefoedd wen;
A'r gelyn erchyll sydd yn awr
Mewn cadwyn gan y Brenin mawr.

---

**169.** *O lafur ei enaid y gwel, &c.* 8, 7.

Esay liii. 11.

1 NI ddaeth Emmanuel yn wir
Am ddim i dir pechadur;
Gan iddo gym'ryd arno'n llwyth,
Myn wel'd o ffrwyth ei lafur.

2 Fe gaiff yr Oen ei wobrwy lawn,
Mae'n deilwng iawn o honi;
Ac yn ei wobrwy draw'n yr hwyr
Fe gaiff ei lwyr foddloni.

3 Er pob rhyw rwystrau fawr a mân,
Fe garia 'mla'n ei amcan;
Nes dwyn ei lon gyn'lleidfa lawn
Yn gynnes iawn i Ganaan.

---

**170.** *Dibenion dyfodiad Crist.* M. H.

Ioan iii. 16—18.

1 NID i gondemnio dynol ryw
Yr ymddangosodd gwir Fab Duw;
Un arf ni welwyd yn ei law,
Na thanllyd gledd i beri braw.

2 Ond cymmaint oedd tosturi Duw,
A'i gariad rhad at ddynol ryw;
Anfonodd ef ei Fab ei hun
I'r byd, i achub euog ddyn.

3 Cysuron fil o'i enau ddaw,
Bendithion fyrdd a rydd ei law,
I bawb yn gwir droi atto sy,
Gan gredu yn ei enw cu.

---

**171.** *Neb ond Crist yn angau.* 8, 7.

1 NID oes gennyf ond dy hunan,
Yn arweinydd ffyddlon im';
Dan dy gysgod mae fy noddfa,
Yn y stormydd mwya'u grym:
Cadw'm golwg at yr hafan,
Lle mae'm tynfa doed a ddêl;
Tiroedd hyfryd yr addewid,
Gwlad yn llifo o laeth a mêl.

2 Yn y dyfroedd mawr a'r tonnau
Nid oes neb a ddeil fy mhen,
Ond fy anwyl Brynwr Iesu,
'R hwn fu farw ar y pren:
Cyfaill yw yn afon angau,
Ddeil fy mhen uwch law y don;
Golwg arno wna im' ganu
Yn yr afon ddofon hon.

---

**172.** *Byrdra dyledswyddau.* M. C.

1 NID oes o fewn i mi i gyd,
Ond llygredd mawr ei rym;
Rhaid imi gael dy haeddiant drud,
Neu ynte fod heb ddim.

2 Y dyledswyddau gore'u rhyw,
Twyllodrus ŷnt a gwan;
Ac nid oes ond anfeidrol Dduw
A all fy nwyn i'r lan.

3 Boed gorsedd gras yn rhydd i mi
Dan bob euogrwydd mwy;
Fel gallwyf orfoleddu'n hŷ
Fyth yn dy farwol glwy'!

---

**173.** *Cyfiawnhâd pechadur.* 8, 8, 8, 6.

NID trwy'r gweithredoedd goreu'u rhyw,
A wnewn i ddyn, a wnewn i Dduw,
Y cyfiawnhêir un enaid byw,
Ger bron gorseddfaingc nef;
Y fendith fawr a roir yn rhad,
I'r gwir gredadyn, gan y Tad,
Ar gyfrif Crist, a'i werthfawr wa'd,
A'i lân gyfiawnder ef.

**174.** *Ceisio maddeuant a heddwch.* 8, 7.

1 NID wy'n haeddu dim trugaredd,
Troes fy nghefen ar y nef;
A chofleidiais fy eilunod,
Yn lle ceisio'i gariad ef:
Gwerthais drysor mwy nâ'r ddaear,
Am bleserau munud awr;
O na thorrai'm calon galed
Am ei heddwch ef yn awr!

2 Unwaith etto mi ddyrchafaf
Un ochenaid tua'r nef;
Ac a lefaf wrth yr orsedd
Am ei bresennoldeb ef;
Pwy a ŵyr na wrendy clustiau
'R hwn fu farw ar y pren,
Ac y daw fy nymuniadau
Trist hiraethlon oll i ben!

3 O na chlywn yr udgorn arian
Ryw bryd yn rhoi bloedd i ma's,
Gan gyhoeddi i'm henaid llwythog
Heddwch a maddeuol ras!
O na ddeuai nerth i waered
Fel llifeiriant mawr ei rym,
Fel na allai'm nwydau pennaf
Bellach ei wrthsefyll ddim!

---

**175.** *Ffyddlondeb a gras Crist.* M. C.

1 NI feddaf ar y ddaear fawr,
Ni feddaf yn y ne',
Neb ag a bery'n ffyddlon im',
Yn unig ond efe.

2 Mae ynddo'i hunan drysor mwy
Nâ fedd yr India lawn;
Ennillodd imi fwy nâ'r byd
Ar groesbren un prydnhawn.
3 Chwennychwn rodio er ei glod,
Ac iddo bellach fyw;
A phob anadliad fyn'd i ma's,
I ganmol gras fy Nuw.

**176.** *Hyderu yng Nghrist.* M. C.

1 NI fethodd gweddi daer erioed
A chyrraedd hyd y nef;
Am hynny'n awr at Iesu'm Duw
Dyrchafaf finnau'm llef.
2 Anturiaf at ei orsedd fawr,
Er t'wylled yw fy nos;
Ac mi orphwysaf, doed a ddêl,
Ar haeddiant gwaed ei gro's.
3 Mae ynddo drugareddau fil,
A chariad heb ddim trai;
A rhyw ffyddlondeb fel y môr,
At ei gystuddiol rai.
4 Efe ei hun a'm gwrendy fry,
Efe a'm cwyd i'r lan;
Can's ef ei hun yw unig Dŵr,
A noddfa f' enaid gwan.

**177.** *Daioni Duw i'w bobl.* 8, 7, 4.

Esay lxiv. 4, 5.

1 NI fu clust erioed a glywodd,
Ac ni welodd llygad dyn,
'R hyn ddarparodd Duw i'r bobol
Garant ddisgwyl wrtho'i hun:
Gyda'r cyfryw, &c.
Boed ein cyfran bob yr un.

2 Caiff yr hwn a wna gyfiawnder,
   Arglwydd, wel'd dy siriol wedd;
Yn dy ffyrdd y rhai a'th gofiant,
   A gânt brofi'th hyfryd hedd:
Hyn fo'n profiad, &c.
   A'n hymddygiad hyd y bedd.

---

**178.** *Meddwl am y groes.* M. C.

1 NIS gall angylion nef y nef,
   A'u dawn rhagorol hwy;
Fynegi byth anfeidrol werth
   Ei ddwyfol farwol glwy'.

2 Am oddef poenau angau'r groes
   Fe'i molir tra fo'r nef;
Fy nerth, fy nghyfoeth, a fy Nuw,
   A'm noddfa dda yw ef.

3 Na foed un rhan o'm bywyd mwy
   Yn eiddo im' fy hun;
Ond treulier fy munudau oll
   Er clod i'm Harglwydd cûn.

*Dewch ac yfwch o'r bendithion,*
*Sydd yn llifo fel yr afon,*
*O Galfaria maes yn gysson;*
*Maith gyflawnder, maith gyflawnder,*
   *Heb na therfyn fyth na thrai.*

---

**179.** *Cariad annhraethol Crist.* 8, 8, 8.

1 NIS gall angylion nef y nef,
   Fynegu maint ei gariad ef;
   Mae angau'r groes yn drech nâ'u dawn:
Bydd canu uwch am Galfari
Nas clywodd yr angylion fry,
   Pan ddelo Salem bur yn llawn.

2 Ni theimlodd neb ond ef ei hun,
Anfeidrol werth fy enaid cun,
Uwch da, uwch dyn, uwch perlau drud;
Ni all'sai dim ond gwaed fy Nuw
Lwyr olchi'm henaid du ei liw,
A'm prynu o drag'wyddol lid.

3 Am iddo farw ar y bryn,
Ca'dd f' enaid gwan ei brynu'n llŷn,
A'i dynnu o'i gadwynau'n rhydd;
Wel, bellach, dan ei haeddiant ef,
Fel cysgod cederwydden gref,
Gorphwysaf mwy y'ngwres y dydd.

---

**180.** *Yr unig aberth dros bechod.* M. B.

1 NIS gall'sai'r ebyrth gynt,
A'u gwaed yn gryno i gyd,
Roi i'r gydwybod euog hedd,
Neu olchi'r brwnt un pryd.

2 Ond Crist, y nefol Oen,
Ddilëa'n beiau'n rhad;
Mae'n aberth gwir o enw gwell,
Ac o ragorach gwa'd.

3 Fy ffydd a fynnai roi
Ei llaw ar d' anwyl ben,
Gan addef yno 'meiau mawr,
Aneirif, îs y nen.

4 Fy enaid dro yn ol
Ei olwg ar dy loes,
Mewn gobaith iti ddwyn ei gosp
Yn gwbwl ar dy groes.

5 Wrth wel'd trwy ffydd yn ffoi
Y felldith fawr o'i fla'n,
Ein melus waith yw moli'r Oen,
A'r gwaed a'n golch yn lân.

**181.** *A fum farw, ac wele byw ydwyf.* 6, 8.

1 'NOL marw Brenin hedd,
A'i blant i gyd yn brudd,
Fe'i rhow'd mewn newydd fedd,
Ond codai'r trydydd dydd:
Boed hyn mewn cof, er clod i Dduw,
Mae'r Oen fu farw etto'n fyw.

2 Pan godai Mab y dyn,
Trwy rym anfeidrol fawr,
Y Ceidwaid bob yr un
Fel meirw gwympent lawr:
Er llid gelynion o bob rhyw,
Mae'r Oen fu farw etto'n fyw.

3 Y Meichiau roed yn rhydd,
'Nol rhoddi taliad llawn;
A Duw'n cyhoeddi sydd,
Yn hwn mi gefais iawn:
Gwnaeth ffordd yn rhydd i fyn'd at Dduw,
Mae'r Oen fu farw etto'n fyw.

**182.** *Duw a digon.* 8, 7.

1 O AM nerth i dreulio'm dyddiau,
Y'nghynteddau tŷ fy Nhad,
Byw y'nghanol y goleuni,
T'wyllwch obry tan fy nhra'd:
Byw heb fachlud haul un amser,
Byw heb gwmmwl, byw heb boen;
Byw ar gariad anorchfygol,
Pur, y croeshoeliedig Oen.

2 Dyro olwg ar dy haeddiant,
Golwg ar dy deyrnas rad,
Brynwyd imi ac a seliwyd,
Seliwyd imi â dy wa'd:
Rho im' gyrchu tu ag atti,
Peidio fyth a llwfwrhâu;
Ar fy nhaith, ni cheisiaf gennyt,
Ond yn unig dy fwynhâu.

---

**183.** *O flaen Pregeth.* 7, 6.

1 O ARGLWYDD Dduw Jehofa,
Tro yma'th wyneb llon,
A doed griddfannau'n hyspryd
I'th glustiau'r oedfa hon:
Doed sain telynau'r nefoedd
I'n clustiau ninnau lawr,
A gwna ni'n gyd-addolwyr
A'r nefol dyrfa fawr.

2 Dy hyfryd bresennoldeb,
Disgleiried yma'n awr;
Rho nerth i eiddil egwan
Lefaru'th eiriau mawr:
Dy Ysbryd di wna gynnwrf
Y'mysg yr esgyrn sych;
Cyrhaedded glust a chalon,
Fel sain yr arian glych.

3 Duw, todda'r galon galed,
A dryllia'r muriau pres;
Cyfoded Haul Cyfiawnder
Yn hyfryd yn ei wres:
A nertha'r enaid ofnus,
Sy'n methu d'od i'r lan;
Cysura'r rhai galarus,
Diddana'r meddwl gwan.

**184.** *Ymbil am dywydd sych.* M. H

1 O ARGLWYDD Dduw y nef a'r ddae'r
O gwrando di'n gweddïau taer;
Am addas, hoff, dymherus hîn,
Yn lle'r gwlybaniaeth maith a blin.

2 Dy gadarn fraich a dywys fry
Yr haulwen deg a'r cwmmwl du;
Mae gwres ac oerfel, gwynt a gwlaw,
Oll yn dy lân alluog law.

3 Gorchymyn di, O nefol Dad,
I'r haul ddisgleirio ar ein gwlad;
A phar i'r lon ffurfafen bur
I wenu etto ar ein tir.

4 Yn anad dim i'n henaid ni
Cyfoded Haul Cyfiawnder cu;
Disgleirdeb ei wynebpryd ef
Rydd ini'n awr ryw ran o'r nef.

---

**185.** *Deued pawb at Grist.* M. H.

1 O ARGLWYDD, doed dy deyrnas di
Dros holl derfynau'n daear ni;
Gwna'r dda'r yn ffyddlon fel y nef
Trwy rinwedd gras, i'th orsedd gref.

2 O dwg y pell Genhedloedd oll,
A'r Iuddew dall fu'n hir ar goll,
Yn hawddgar lu i'th eglwys lân,
I lawenhâu dros fyth o'th fla'n.

3 O brysia'n wir yr hyfryd awr,
Pan blygo pawb i'th enw mawr;
A lleda'th faner trwy'r holl fyd,
Nes uno'r dda'r a'r nef y'nghŷd.

**186.** *Am nerth ysprydol.* M. H.

1 O ARGLWYDD, gwel fi'n llesg a gwan,
Yn methu dringo'r byd i'r lan;
Am fyn'd yn lew i'r Ganaan lân,
Heb allu symmud fawr y'mla'n.

2 Nis gallaf gerdded cam o'm taith,
Yn nerth fy hun, trwy'r anial maith;
Fy llygredd cas, a'm rheswm ffol,
Sydd hefyd yn fy nhynnu'n ol.

2 Y gwannaf wyf, a'r rheita'i ddwyn,
O'th ddefaid gwirion ac o'r ŵyn;
A diau yw y triga'i'n ol,
On' ch'od y Bugail fi'n ei gol.

4 O cymmer fi i'th fynwes glyd,
Tra fwy'n niffaethwch hyn o fyd;
A nerthed fi'th ddeheulaw gref
I redeg beunydd tua'r nef.

---

**187.** *Iechydwriaeth trwy Grist.* 8, 7.

1 O CANWN fawl i'n Prynwr fyth,
A'n Ceidwad dilyth cyfion;
Aberthodd ef ei fywyd hael
Dros lu o'i wael elynion.

2 Pan welodd ddyn yn wael ei ddull
Y'nghyflwr erchyll natur;
Ar aden cariad hedodd Crist,
I gadw'r trist greadur.

3 Ei haeddiant ef ger bron y Tad,
A'i aberth rhad dros bechod;
A rydd i ni drag'wyddol hedd,
Twy rinwedd ei gyfryngdod.

4 Ei fywyd a'i farwolaeth ef,
Yw'r ffordd i'r nef ddymunol;
A'i bresennoldeb gwiw a'n gwna
Yn ddedwydd yn drag'wyddol.

---

**188.** *Enwaediad nid o waith llaw.* M. H.
Rhuf. ii. 28, 29. Col. ii. 11, 12.

1 O DAN y ddeddf Enwaediad oedd
Y drws i eglwys Dduw ar g'oedd;
Ond Bedydd roddwyd yn ei le:
Dïolchgar fo'm i Frenin ne'.

2 Enwaedu'n unig yn y cnawd,
Ni chadwai un pechadur tlawd;
Ac nis gall Bedydd chwaith ei hun
Lanhâu ac achub euog ddyn.

3 Nid ffurf allanol o un rhyw,
Nac un rhyw ddefod roddodd Duw;
All olchi'n lân ein brynti ni,
A'n dwyn o'r byd i'r nefoedd fry.

4 Ond Yspryd Duw, bwrcaswyd in'
Gan aberth Iesu ar y bryn,
A newid yr holl gnawdol fryd,
A'r dyn mewn dull o'r newydd dŷd.

5 Ein henaid, pan fwynhäo'i ras,
O feddau pechod ddaw i ma's;
Molianna Dduw yn llon ei lef,
A rhed ei yrfa tua'r nef.

---

**189.** *Y Colect ar Ddydd Nadolig Crist.* 11au.
1.

O DDUW Hollalluog, trugarog o hyd,
Anfonaist dy Uniganedig i'r byd;
I gym'ryd ein hanian, a'i eni'n ŵr gwan,
O groth y bur wyryf ddedwyddol ei rhan.

2.

Rho, Arglwydd, i ninnau gael gennyt bob un
Ein gwir adgenhedlu yn blant it' dy hun;
Neu wedi'n gwneud felly trwy fabwys a rhad,
Gael ymadnewyddu trwy Yspryd ein Tad.

3.

A hyn a erfyniwn yn unig trwy'r O'n,
Sy'n byw a theyrnasu,—am dano boed sôn,—
Mewn undeb â'r Yspryd, mewn undeb â Thi,
Yn Un Duw trag'wyddol, ac etto yn Dri.

---

**190.** *Y frwydr ysprydol.* 7, 6.

1 O DEFFRO, f' enaid, deffro!
A gwisg dy gleddyf glas;
Clyw uchel lais yn galw
Yn groyw iawn i'r ma's:
Mae'r udgyrn aur yn bloeddio
O'r nefoedd wen i'r llawr;
O deffro! gwisg dy arfau,
A dos i'r frwydyr fawr.

2 Mae'r milwyr yn y fyddin,
O'u blaen mae Had y Wraig;
Ac arfau'r nef yn curo
Ar gestyll cryf y ddraig:
Mae Iesu'r Pen-Tywysog,
Yn arfog ar bob llaw;
Gelynion ryw fyrddiynau
Sy'n crynu gan ei fraw.

3 Os cai dy glwyfo weithiau
A saethau tanllyd liw,
Mae'th anwyl Feddyg Iesu
Yn gallu gwella'th friw:

Yn unig ymwrola,
  Ymnertha yn ei rad,
A chei bob gelyn arfog,
  Digasog, dan dy dra'd.

---

**191.** *Emyn Forëol.* M. H.

1 O DEFFRO, gyda'r haulwen rhéd,
  Fy enaid, ddyddiol daith dy ddlêd;
Rho heibio syrthni, 'n ebrwydd cod,
A chân i'th Geidwad fore-glod.

2 Cais brynu'r amser gwerthfawr, bydd
Fyw heddyw fel dy olaf ddydd;
Defnyddia'n ddwys bob talent wiw,
A pharod bydd i farn dy Dduw.

3 Dy rodiad fo yn un a'r gwir,
Dy fynwes fel y goleu'n glir;
Craff lygad Duw yn syllu sydd
Ar weithred, gair, a meddwl cudd.

4 O deffro, cyfod, f' enaid, cân
Yn gyd-gor a'r angylion glân;
Y rhai, trwy gydol nos, heb boen,
Sy'n canu mawl i Dduw a'r Oen.

5 O molwch Dduw pob bendith ddrud,
Molwch ef, bawb trwy gyrrau'r byd;
Molwch ef, luoedd nef, ar gân,
Molwch Dad, Mab, ac Yspryd Glân.

---

**192.** *Gwahoddiad i'r ffynnon.* 7, 6.

Esay lv. 1.

1 O DEUWCH, bechaduriaid,
  Sydd dan eich beichiau'n drist,
A gollwyd gynt yn Eden,
  Gorphwysfa gewch yng Nghrist;

O dewch y'mlaen i'r ffynnon
Agorwyd ar y bryn,
Hi olch y rhai aflanaf,
Fel eira'n hyfryd wyn.

2 Mae'r ffynnon hon yn llifo
Yn gysson ddydd a nos,
Yn rhad i wael bechadur,
Trwy haeddiant Crist a'i lo's;
O deuwch chwi i'r dyfroedd,
Bawb yn sychedig sydd,
Cewch win a llaeth i wledda,
A llonni'ch henaid prudd.

3 Pob math o bechaduriaid
Mae'r ffynnon yn glanhâu;
Fel Mair, ac fel Manasse,
A Saul, er maint eu bai:
Rhyw dorf o bechaduriaid,
Sy'n haeddu bythol boen,
A gânt lanhâu eu gynau,
A'u cannu 'ngwaed yr Oen.

---

**198.** *Y pedwerydd Gorchymyn.* M. H.

Exod. xx. 8—11.

1 OFEWN chwe' dydd yr wythnos faith,
Gwna di dy holl briodol waith;
Y seithfed, cofia, 'r Sabbath yw,
Sancteiddia ef i gyd i Dduw.

2 Trwy serch na wna'r dydd hwnnw'th waith,
Na'th fab, na'th ferch, na'th weision chwaith;
Na'th forwyn, na'r anifail syrth
Yn gyfiawn it' o fewn dy byrth.

3 Can's mewn chwe' dydd y gwnaeth dy
Dduw
Nef, daear, môr, a phob peth byw;
Sancteiddio wnaeth y seithfed dydd,
A'i fendith arno'n aros sydd.

4 O Arglwydd wrthym trugarhâ,
Ac ini gadw'th ddeddfau gwna;
A'r gyfraith hon, 'sgrifenna hi
Yn eigion ein calonnau ni.

---

**194.** *Erfyn presennoldeb Duw.* 8, 7.

1 O FRENIN Sïon, tyr'd i'n plith,
A dyro'th fendith dirion;
I wneud yn iraidd, 'nol eu chwant,
Eneidiau'th blant sydd sychion.

2 O ein Hanwylyd hyfryd hardd,
Tyr'd 'nawr i'th ardd a'th winllan;
Tyr'd, bwytta'r ffrwythau gyda ni,
A blennaist ti dy hunan.

3 Gad ini gael peth prawf o wir
Bêr ffrwythau'r tir dymunol;
I godi'n blys am gyrchu 'mla'n
I'r hyfryd Ganaan nefol.

---

**195.** *Myfyrdod ar y nefoedd.* 8, 7.

1 O FUGAIL Israel, dwg fi 'mla'n
I'r dawel lân orphwysfa,
I'th nefol lŷs, o'm poen a'm pla,
I ganu Haleliwia.

2 Ond myn'd wrth lŷs Caersalem lon,
Caf gwrdd â'm ffyddlon Frenin;
Yn agor drws y nefoedd draw,
Ac yn ei law fe'm derbyn.

3 Cael cwrdd a wnaf o fewn i'r ne
A'r sanctaidd bererinion;
Ac yn eu plith caf foli'm Nêr,
A phêr ganiadau Sïon.

4 Y wisg a'r goron gaf i'm rhan,
Sy 'nghadw gan yr Iesu;
A'r hyfryd balmwydd yn fy llaw,
Ca'n Sïon draw deyrnasu.

---

**196.** *Tyred drosodd a chymmorth m.* 7, 6.

1 O GREENLAND oer ogleddig,
O India gwrel draeth,
Lle hwylia dyfroedd Affrig
Dros dywod aur eu taith;
O lawer oesol afon,
A bröydd palmwydd gwyrdd,
Hwy'n galwant i'w rhoi'n rhyddion
O'u coel-grefyddau fyrdd.

2 Er chwytha pêr awelon
Dros ynys Ceylon syw,
Sydd drwyddi'n gwenu'n dirion
Ond dyn a'i anwar ryw;
Yn ofer gwelir heddyw
Fendithion Duw ar daen,
Ei thywyll feibion di-dduw
Addolant bren a maen.

3 Gawn ni, a maint ein breintiau,
Naccâu i'r Pagan pell,
Sy'n gwyro, o eisiau goleu,
Roi gwawl y bywyd gwell?

Achubiaeth! O achubiaeth!
  Am dani bydded sôn,
Nes dysgo'r holl gre'digaeth
  Wiw enw'r addfwyn O'n.

4 Chwyth, chwyth, ti wynt, ei hanes,
  Ef cludwch ddeifr i gyd,
Nes rhêd, fel môr, er mawrlles,
  O gylch pegynau'r byd;
Nes bo i'r Oen, i'n prynu,
  A laddwyd yn ein lle,
Mewn gwynfyd llawn deyrnasu
  Ar bawb o dan y ne'.

---

**197.** *Duw yn ddigon yn angau.* 8, 7.

1 O IACHAWDWR pechaduriaid!
  Sydd â'r gallu yn dy law,
Rho oleuni, hwylia'm henaid
  Dros y ce'nfor garw draw:
Gad y wawr fod o fy wyneb,
  Rho fy enaid llesg yn rhydd;
Nes i'r haulwen ddisglair godi,
  Tywys fi wrth y seren ddydd.

2 A oes neb o'm hen gyfeillion
  A ddaw'n ddiddig gyda mi,
Ac a orwedd wrth fy ochor
  Obry yn y ddaear ddu?
A yw cyfaill ddim ond hynny,
  Colli dagrau, newid gwedd,
Pan bo'r pridd, a'r clai, a'r cerrig,
  Arna'i'n cwympo yn y bedd?

3 O ynfydrwydd! O ffolineb!
Im' erioed i roddi 'mryd
Ar un tegan, ar un pleser,
Welais etto yn y byd!
Y mae'r byd yn myned heibio,
A'i deganau o bob rhyw;
Tan y nef ni thâl mo'i garu
Wrthddrych arall fel fy Nuw.

---

**198.** *Gwared ni rhag drwg.* 6, 4.

1 O IESU! dere'n glau,
Cyn bo i'm dydd hwyrhâu,
A moes dy law;
Rho imi wel'd dy wedd,
A phrofi'th hyfryd hedd,
Yr ochor hyn i'r bedd,
A'r ochor draw.

2 Os rhodiaf yn dy ffyrdd,
Bydd im' elynion fyrdd
Am rwystro'm taith;
A'r rhai'n, gan faint eu grym,
Fel eirth, neu lewod llym,
Yn ceisio niwed im',
Trwy'r anial maith.

3 Am hynny anfon lawr,
Im' nerth a nodded mawr
Dy Yspryd Glân;
Fel na'm gorchfyger i
Gan law gelynion lu,
Na'r temtasiynau sy
Bob cam o'm bla'n.

**199.** *Am nerth i ogoneddu Crist.* M. H.

1 O IESU mawr, y Meddyg gwell!
Gobaith yr holl ynysoedd pell,
Dysg fi i seinio maes dy glod,
Mai digyfnewid wyt erio'd.

2 O hoelia'm meddwl, ddydd a nos,
Crwydredig, wrth dy nefol gro's;
A phlanna'm hyspryd yn y tir
Sy'n llifo o lawenydd pur:

3 Fel bo fy nwydau drwg yn lân
Eu difa'n cael â'r nefol dân;
A chariad yn melysu'r groes,
Trwy olwg ar dy farwol loes.

---

**200.** *Yn wresog yn yr Yspryd.* 8, 7.

1 O IESU, Pen yr Eglwys deg.
Ei sail a'i hatteg siccir;
O'th lawnder dwyfol daw i lawr,
Ei gras bob awr, a'i chysur.

2 Ennynna dân nefolaidd, Iôr,
Ar aelwyd o'r ein mynwes;
A gwres dy gariad oesol cry'
A'i cadwo hi yn gynnes.

3 Rho yspryd gwresog at dy waith,
A'th gyfraith yn ein c'lonnau;
Fel na ddiffygiom yn dy ffyrdd
Er cwrdd â myrdd o rwystrau.

4 Dy wasanaethu, Arglwydd da,
Fo'n hymgais a'n hyfrydwch,
Tra paro'n dyddiau ar y llawr;
A fry ein mawr ddedwyddwch.

**201.** *Hyfrydwch wrth y Swpper.* 8, 7.

1 O MOR rhagorol ac mor gu
Yw gwledda'n nhŷ yr Arglwydd,
Ar ffrwythau da y nefol dir,
Rydd ini wir lawenydd.

2 Nid bara a gwin daearol gwan
A bortha'n rhan anfarwol;
Nid ydynt ond cysgodau da
O Grist y bara buwiol.

3 Mae'i gnawd a'i waed yn fwyd yn wir
I'r nefol nattur newydd;
A'r sawl a'i bwytty a fydd byw
Fry gyda Duw'n dragywydd.

4 Ennillodd Crist trwy'i werthfawr wa'd
I ni ryddhâd trag'wyddol;
A'r Arglwydd byw a aeth i'r bedd
I ni gael annedd nefol.

---

**202.** *Etifeddion yr addewid.* M. B.

1 O'N blaen mae seintiau fyrdd
Yn canu'r anthem bur;
Ac heddyw'n edrych fel o bell
Ar dd'rysni'r diffaeth dir.

2 Rhyfeddu maent y gras
A'u nerthodd ar eu taith;
A chanu clod yr addfwyn Oen,
Ffyddlonaf, yw eu gwaith.

3 Duw! nertha ninnau 'mlaen,
Heb wyro o un tu;
Nes ini gyrraedd mewn i byrth
Caersalem newydd fry.

4 Rho'r delyn yn ein llaw,
Ac yn ein calon dân;
Ac y'mheryglon anial dir
Erfyniau pur a chân.

5 Fel hyn yn nerth y nef,
Fel un lliosog lu,
Trwy demtasiynau awn y'mla'n,
Nes d'od i'r Ganaan fry.

---

**203.** *Pwyso ar Grist.* M. H.

Can. viii. 5—7, 14.

1 O PWY yw hon sy'n llesg a gwan,
O'r anial fyd yn d'od i'r lan?
Gan faint ei baich blinedig yw,
A'i phwys ar ei Hanwylyd gwiw.

2 Hon yw priodferch Crist ein Duw,
Gwerth gwaed ei galon dyner yw;
Ag ef mae'n dadleu,—mawr ei braint!
A'i chais sy'n un â phawb o'r saint.

3 "Dod di fel sêl, mewn geiriau llawn,
Ar lech dy galon dyner iawn;
Ac ar dy fraich yn nôd di-lyth,
Fy mod yn briod iti byth.

4 Cryfach nag angau, trech nâ'r bedd,
Yw grym dy gariad a dy hedd;
Digofaint Duw, fel afon gref,
A fethodd ei ddiffoddi ef."

5 O tyr'd f' Anwylyd, brysia, bydd
Yn awr fel iwrch neu lwdwn hydd;
Nac oeda,—tyred maes o law,
Tros fynydd y perlysiau draw.

**204.** *Gwaredigaeth Israel o'r Aipht.* M. H.

1 O'R Aipht pan ro'w'd y llwythau'n rhydd,
Ni ffoent mewn braw fel caethion prudd;
Fel byddin ddewr dan nodded Ne'
Y teithient hwy trwy'r anial le.

2 O'u hol, o'u blaen, âi Duw yn wir,
I'w dwyn bob cam i Ganaan dir,
I'w fforddio'r nos yn golofn dân,
Yn golofn niwl y dydd o'u bla'n.

3 A'r rhai wna'r Iesu 'nawr ryddhâu,
O gyflwr gwaeth nâ'r Aiphtaidd iau,
Eu hynt nid ffo derfysglyd yw,
Ond araf daith dan ofal Duw.

4 Eu ffordd, mor dda a siccir yw!
O'u blaen, o'u hol o hyd mae Duw;
Yn amlwg iawn i lygad ffydd,
Fel tân y nos, a niwl y dydd.

---

**205.** *Cofio cariad Crist wrth ei fwrdd.* 8, 7.

1 O'R fath gariad ŷm yn gofio,
Wrth y bwrdd sy'n awr o'n bla'n!
O'r fath werthfawr waed fu'n llifo
Ar y groes i'n golchi'n lân!
Cariad yw a gwyd y gwaelaf,
Fynu'n lân i Sïon fryn;
Gwaed a ylch y rhai aflanaf,
Fel yr eira'n hyfryd wyn.

2 Llifed edifeirwch duwiol
'Nawr yn gryf fel gwaed y groes;
Llosged tirion gariad dwyfol
Ynom oll hyd derfyn oes:

Ti'n Gwaredydd mwyn caredig
Wyt yn haeddu'n serch i gyd;
Boed i'th enw bendigedig
Foliant byth hyd ddiwedd byd.

---

**206.** *Y Diddanydd.* 8. 8, 8.

1 O'R Graig y mae'n dylifo ma's,
Yn afon ddisglair loyw las,
Sef Craig yr Oesoedd,—Yspryd Duw;
O am gael nerth i drigo'n llon,
Dan gysgod tawel furiau hon,
I gael diddanwch tra fwy' byw!

2 'R wy'n cofio gair fy Iesu mawr,—
"Danfonaf iwch' Ddiddanydd lawr;
O dristwch ni chewch farw mwy:"
O Dduw, cyflawna'th air i ben,
Rho im' Arweinydd is y nen,
Ddangoso'r ffordd, a wello'm clwy'.

3 Os daw cystuddiau garw'r gro's,
I flino'm hyspryd ddydd a nos,
Gwna fi er hyn yn foddlon iawn;
Dan ganu gwna fi fyn'd y'mla'n,
Heb ofni dim mewn dwr na thân,
O fore 'mywyd hyd brydnhâwn.

---

**207.** *Crist yn byw bob amser i eiriol.* 6, 8.

Heb. vii. 25.

1 O'R holl grediniol lu,
Sy'n ffoi i Salem lân,
Myfi yw'r mwyaf du,
Ar bawb yn dwyn y bla'n;
Anfeidrol ras na f'asai'm nyth
Mewn cadwyn byth yn uffern dân.

2 Er hyn pa'm ofnaf mwy?
Er cynddrwg yw fy ngwedd;
Ca'dd pechod farwol glwy'
Gan Iesu glân a'i gledd;
Mae'r ddraig yn friw dan draed fy Nghrist,
I'm henaid trist mae bythol hedd.

3 Efe yw'm Meichiau mawr
O flaen gorsedd-faingc Iôn,
Sy'n eiriol bob yr awr,
Gan gofio'i ddirfawr bo'n;
Pa'm 'r ofnaf mwy? mae'n llifo ma's
I orsedd gras bur waed yr O'n.

---

## 208. *Iechydwriaeth.* M. H.

1 O'R Iechydwriaeth fawr yng Nghrist!
Swn melus hyfryd yw i'm clust;
Balm cryf i'm clwyfau o bob rhyw,
A chysur im' rhag ofnau yw.

2 Mewn bedd o bechod gorwedd bu
Ein henaid wrth ddrws uffern ddu;
Ond codi 'r ŷm trwy ras ein Duw,
I weled nefol ddydd a byw.

3 Aed swn yr iechydwriaeth fawr
O ddeutu'r ddaear faith yn awr;
A boed i'r nef a'i lluoedd llon
Godi eu llef i seinio hon.

---

## 209. *Crist yn ddymunol.* M. C.

1 OS edrych wnaf i'r dwyrain draw,
Os edrych wnaf i'r de',
Y'mhlith y fu, neu ynte ddaw,
'Does tebyg iddo fe.

2 Fe rodd ei ddwylaw pur ar led,
Fe wisgodd goron ddrain;
Er mwyn i'r brwnt gael bod yn wyn
Fel hyfryd liain main.
*Afon loyw redodd allan*
*O bur ystlys Crist ei hunan,*
*Gylch yr euog, gylch yr aflan,*
*Haleliwia, Haleliwia,*
*Dŵr heb ddarfod, dŵr heb drai.*

---

**210.** *Pechadur yn meddwl am y nef.* 7, 6.

1 OS gwelir fi bechadur,
Ryw ddydd ar ben fy nhaith,
Rhyfeddol fydd y canu,
A newydd fydd y iaith;
Yn seinio buddugoliaeth
Am iechydwriaeth lawn,
Heb ofni colli'r frwydyr
Y bore na'r prydnhâwn.

2 Os caiff y fath bechadur,
Sydd ffiaidd, aflan, noeth,
O flaen dy orsedd sefyll,
Pan byddo'r byd yn boeth;
A'm dyled wedi thalu,
A'r orsedd-faingc yn rhydd,
A'r Iesu arna'i'n gwenu,
Fy nghân, un fythol fydd.

---

**211.** *Swyddau Crist.* M. H.

1 OS gofyn neb sydd ar y llawr,
Pa'm cara'i'n llyn fy Iesu mawr?
Pe gwelai pawb ef fel y mae,
Deu'r byd i'w garu yn ddi-lai.

2 'Does unrhyw harddwch yn y byd,
Nac un o fewn y nef i gyd,
Na gras, doethineb, nerth, na dawn,
Nad ydyw yn fy Iesu'n llawn.

3 Mae'n Iawn trag'wyddol, Aberth mawr,
Sydd addas iawn i lwch y llawr;
Offeiriad, Prophwyd, Brenin yw,
Cyfryngwr da rhwng dyn a Duw.

---

**212.** *Teyrnasiad cyffredinol Crist.* M. C.

1 O SION, dechreu ganu'n bêr,
Daeth jubil nefol ras;
Cyrn auraidd yr efengyl bur
Sy'n rhoddi bloedd i ma's.

2 Mae muriau cedyrn Babel gref
A'u gogwydd tua'r llawr;
Daw'r seithfed tro o gylch yn glau,
Gwyn fyd na ddeuai 'nawr.

3 Daw'n Harglwydd i deyrnasu'n lân
Dros wyneb daear las;
Gorchfygir holl genhedloedd byd
Gan gleddyf dwyfol ras.

4 Gelynion orfydd blygu'n llu,
Wrth draed yr Iesu mawr;
A Sïon yn ben moliant fydd
Dros wyneb daear lawr.

---

**213.** *Byr ysgafn gystudd.* 8, 7.

2 Cor. iv. 17.

1 OS yw'm gofidiau yn y byd
I bara hyd y diwedd;
O fewn i'r nef fe dderfydd hyn,
Troir tristwch yn orfoledd.

2 Pa fwyaf gawn o wres y dydd,
Mwy yno fydd ein moliant;
Cawn yn lle'n cystudd byr a'n crwys
Drag'wyddol bwys gogoniant.

3 Pryd hyn pereiddia Duw o'r bron
Holl chwerwon ddyfroedd Mara;
Pryd hyn y try pob chwerw nant
Yn win i blant Jehofa.

---

**214.** *Felly y bydd fy Ngair.* 6, 4.

Esay lv. 10, 11.

1 O TYRED, Arglwydd mawr,
O'r nef dihidla lawr
Gawodydd pur;
Fel byddo'r egin grawn
Foreuddydd a phrydnhawn,
I darddu'n beraidd iawn
O'r anial dir.

2 Wrth d' air o'r nef y daw
Yr eira gwyn a'r gwlaw,
Tymhoraidd hin;
Y dda'r a ddyfyrhâ,
Ac iddi darddu gwna,
A dwyn pob ffrwythau da,
I'r rhai a'i trin.

3 Doed felly'th Yspryd lawr,
I arddel d' air yn awr,
I ddiben da;
Fel na ddychwelo'n ol,
Heb wneud pryd hyn ei ôl
Ar ein calonnau ffol,
Sy'n fawr eu plâ.

## 215. *Syched am sancteiddrwydd.* 6, 4.

1 O TYRED, Awdwr hedd,
A chyfod ni o fedd
Pob pechod sydd;
Ein henaid griddfan mae,
Am gael ei wir iachâu,
O dere dere'n glau,
Rho ni yn rhydd.

2 Mae pechod o bob gradd,
Yn fawr am gael ein lladd,
A ninnau'n wan;
O rho d' effeithiol ras,
Ac estyn fraich i ma's,
O'r tiroedd anial, cras,
I'n dwyn i'r lan.

3 Un olwg ar dy wedd
A'n c'od i'r lan o'r bedd,
I'r goleu clir;
I deithio yn y bla'n,
Trwy ganol dŵr a thân,
Er gâlon fawr a mân,
I'r sanctaidd dir.

---

## 216. *Golwg ar wlad well.* 6, 4.

1 O TYRED, Awdwr hedd,
Rho ini brawf o'r wledd
Drag'wyddol rad;
'Does yma ddim ond trai,
Cystuddiau, poen, a gwae,
I'r diwedd yn parhâu,
Mewn anial wlad.

2 Ni thal pleserau'r byd,
Na'i holl deganau 'nghyd,
Ddim i'w mwynhâu;
Mae'n hyspryd mewn rhyw gur,
Am fyned cyn bo hir,
I'r man mae gwynfyd pur,
Byth i barhâu.

3 Ond wele'r hyfryd wlad,
A dedwydd dŷ ein Tad,
Draw'r bryniau pell;
Ardaloedd lle y mae
Llawenydd yn ddi-drai,
Ffynhonnau'n dyfyrhâu
Paradwys well.

---

**217.** *Awelon yr Yspryd.* M. H.
Can. iv. 16.

1 O TYRED, y gogleddwynt pur,
Anadla ar dy lysiau îr;
Can's oni ddeui di mewn pryd,
Fe wywa'r grasau per i gyd.

2 Tyr'd â'r awelon hynny lawr,
Sy'n deffro'r arg'oeddiadau mawr;
Tyr'd dithau, y deheuwynt clyd,
Sy'n codi'r enaid uwch y byd.

3 Doed pob awelon yn eu lle,
I godi'n hyspryd tua thre';
Gwnaed pob rhyw foddion, pob rhyw ddawn,
I'th lysiau berarogli'n iawn.

4 O tyr'd i'th ardd, Anwylyd pur,
Mae'r amser hebot yma'n hir;
Bwyttâ dy ffrwyth o nefol rin,
Pereiddiaf, blennaist ti dy hun

**218.** *Allan o Veni Creator.* M. C.

1 O YSPRYD Glân, i'n calon ni,
Y gwir oleuni gyr;
A gras o hyd i garu Duw,
Tra paro'n bywyd byr.

2 Ein gwendid nertha di bob awr,
Yn fawr, O Dduw dilŷth;
Na fo'm i'r fall, i'r byd, na'r cnawd,
Yn wawd un amser byth.

3 Ein holl elynion gyr y'mhêll,
Rho heddwch gwell i ni;
Sef heddwch da â dyn a Duw,
Yr elw goreu sy.

4 Bydd di'n Arweinydd ini gyd,
Rhag maglau'r byd, a'n cas;
Na lithrom chwaith oddiwrthyt mwy,
Rho ini help dy ras!

5 Dod fesur mawr o'th ras, O Dduw,
I'n henaid byw pryd hyn;
Fel caffom di'n y farn a fydd
Yn wir Ddiddanydd in'.

---

**219.** *Efe a arbed yn helaeth.* 7, 6.

Mica vii. 18. Esay lv. 7.

1 PA Dduw y'mhlith y duwiau
Gyff'lybir i'n Duw ni!
Mae'n hoffi maddeu beiau,
Mae'n hoffi gwrando'n cri:
Nid hir y dal eiddigedd,
Gwell ganddo drugarhâu;
Y'nghanol byd o drallod,
Gwnawn ynddo lawenhâu.

2 Pan edy'r dyn drygionus
Hen lwybrau'r anwar ryw,
A'r anwir ei feddyliau,
Gan droi yn ol at Dduw;
Rhydd iddo rad drugaredd
Am bob rhyw bechod cas,
Ac arbed ef yn helaeth,
Rhyfeddol yw ei ras.

---

**220.** *Claddedigaeth dyn duwiol.* M. H.

1 PAHAM yn brudd wrth roi mewn bedd
Ein cyfaill hoff? fe gysg mewn hedd;
Heb ddolur maith i'w ddilyn mwy,
Na chystudd hir i'w wasgu'n hwy.

2 Yr enaid aeth i'r nefol dŷ,
At filoedd fyrdd i foli fry;
Lle gorphwys byth oddiwrth ei boen,
Yn berffaith iawn ger bron yr Oen.

3 Pan glyw y meirw'r udgorn mawr,
Fe edy'r llwch ei dŷ'n y llawr;
A'r corph fydd byw tu draw i'r bedd,
Yn rhyfedd wych o ran ei wedd.

---

**221.** *Yr enaid yn fwy ei werth nâ'r byd.* M. H.

1 PA les i ddyn f'ai ennill byd,
A bod dan felldith Duw o hyd;
Llwyr golli'i enaid gwedi'r gwaith,
Dros eithaf trag'wyddoldeb maith!

2 Gwell bod mewn carchar gyda Christ
Nâ phleser annuwiolion trist;
Braint fwy yw dwyn ei groes o hyd
Nâ gwisgo coron hardda'r byd.

**222.** *Wrth ymadael.* M. C. D

PAN gesglir perlau Crist y'nghŷd,
Ar ddiwedd byd i'w dŷ;
Fel disglair sêr llewyrcha'r saint
Mewn nefol fraint sy fry:
I'r sawl yn caru'r Arglwydd sydd,
Mae dydd, mae dydd yn d'od,
I gael mwynhâu trag'wyddol hedd,
Byd rhyfedd uwch y rhod.

---

**223.** *Golwg ar y groes.* 8, 7,

1 PAN y bo'm yn athrist gwynfan
Dan euogrwydd pechod cas,
Ac anobaith yn ein curo
Braidd yn farw ar y ma's;
Hoff yw gennym, &c.
Droi ein golwg tua'r groes.

2 Yno gwelwn rad drugaredd
Yn dylifo fel y môr,
Pechaduriaid yn cael cymmod,
Gwenau ar wynebpryd Iôr:
Gwelwn ddigon, &c.
Fyth i gadw euog ddyn.

3 Mor ofnadwy yw cyfiawnder,
A thymhestloedd dwyfol ŵg!
Crynu'r ydym oll wrth weled
Sinai fawr yn dân a mŵg:
Croes yr Iesu, &c.
A dawela'r stormydd hyn.

4 Ar y groes y melus sylla
  Lluoedd llon y nefoedd lân;
Dyma destyn eu myfyrdod,
  Sylwedd eu trag'wyddol gân:
Enw'r Iesu, &c.
  Sy'n pereiddio'r nefol sain.

---

**224.** *Goleuni'r Efengyl.* M. C.

Esay xxx. 20, 21, 26.

1 PAN rwymwy' friw fy mhlant, medd Duw,
  Gan lwyr iachâu eu clwy';
Cânt oleu eglur ar eu taith
  Trwy'r byd peryglus mwy.

2 Eu lleuad lon, llewyrchu wna
  Fel haul ar ganol dydd;
A'u haul, fel saith o haulau teg,
  Yn ddisglair iawn a fydd.

3 Ni ddygir eu hathrawon mwy
  Oddiwrthynt tra font byw;
Cânt wel'd y rhai a'u dysgant hwy
  Yn llwybrau diddrwg Duw.

4 Pan bwysont ar yr aswy law,
  Neu ynte ar y dde';
Cânt glywed gair o'u hol yn dweyd,
  "Wel dyma'r ffordd i'r ne'."

5 Cyflawna, Arglwydd da, i ni
  Dy addewidion gwiw;
A thywys di ein traed i'r lan
  I'r nefoedd at ein Duw.

**225.** *Parodrwydd Duw i faddeu.* 8, 7.

2 Sam. vii. 14, 15. Psalm lxxxix. 30—37.

1 PAROD yw Duw i faddeu'r bai,
Sydd yn ei rai anwyla';
Fel ffyddlon Frawd, neu dirion Dad,
Yn wastad fe a'u cara.

2 Cânt gerydd am eu bai ar g'oedd,
Cânt yfed dyfroedd Mara;
Cystuddiau newydd ddaw bob cam
I'w cwrddyd am y cynta'.

3 Ond gyda'i gerydd dyry hedd,
Trugaredd a thiriondeb;
A'i ras i'w blant i gyd barhâ
I eitha' trag'wyddoldeb.

---

**226.** *Ceisio rhan yn eiriolaeth Crist.* M. H.

1 PECHADUR wyf, da gŵyr fy Nuw,
Llawn o archollion o bob rhyw;
Yn byw mewn eisiau gwaed y gro's
Bob munud awr o'r dydd a'r nos.

2 O! cofia fi ger bron y Tad,
Gan ddangos iddo werth dy wa'd;
O dadleu 'n awr y'nghanol ne'
I ti roi'th fywyd yn fy lle.

3 O! cadw fi'n dy gof bob awr,
Wrth eiriol yn y nefoedd fawr;
Dwg f' enw mewn llyth'rennau llawn
O flaen y faingc yn ëon iawn.

4 Y'nghanol cyfyngderau du
Yn agos attat cadw fi;
Difyrra'm hoes o awr i awr
A chariad fy Eiriolwr mawr.

**227.** *Ceisio maddeuant a nerth.* 6, 8.

1 PECHADUR wyf erio'd,
O halogedig ryw;
Gwrth'nebwr fynnai fod
Yn erbyn gras fy Nuw:
Fy meiau mawr O maddeu'n rhad,
Ar gyfrif gwa'd f' Anwylyd gwiw.

2 Mae rhwystrau o fy mla'n
I'r etifeddiaeth rad;
Mae dyfroedd mawr a thân
Oddiyma i dŷ fy Nhad:
O Arglwydd, gwel fi'n llesg a gwan,
A dwg fi'r lan i'r nefol wlad.

3 Fe ŵyr f' Anwylyd cu
Fod llu o elynion im';
Y rhai yn gyfrwys sy,
A chedyrn iawn o rym:
Rho ras i mi anturio'n hŷ
Trwy ganol llu 'ngelynion llym.

---

**28.** *Crefydd yn ofer heb gariad.* M. H.

1 Cor. xiii. 1—3.

PE meddwn ar dafodau doeth
Angylion ac areithwyr coeth;
Ac heb fod cariad gyda'r rhai'n,
Wyf megis efydd gwag ei sain.

Pe meddwn bob gwybodaeth gu,
Gan wybod pob dirgelwch sy;
Neu feddu ffydd i symmud byd,
Heb gariad, nid wyf ddim o hyd.

3 Pe bawn yn rhoddi, megis brawd,
Fy nghyfoeth oll i borthi'r tlawd;
Neu roi fy nghorph yn fyw i'r tân,
'Gael enw merthyr clodfawr glân:—

4 Os prin yw'm serch at ddyn a Duw,
Fy ngobaith oll llwyr ofer yw;
Nid tafod tanllyd, sêl, na dawn,
All wneud gwaith cariad byth yn iawn.

---

**229.** *Pererin yn deisyfu Arweinydd.* M. C.

1 PERERIN wyf mewn anial dir,
Yn crwydro yma 'thraw;
Ac yr wy'n disgwyl bob yr awr,
Fod tŷ fy Nhad ger llaw.

2 Tyr'd, Yspryd sanctaidd, tywys fi,
Bydd im' fel niwl a thân;
Ni cherdda'i'n gywir hanner cam,
On' ddygi di fi mla'n.

3 Mi wyraf weithiau ar y dde',
Ac ar yr aswy law;
Am hynny arwain gam a cham
Fi i'r baradwys draw.

---

**230.** *Dilyn y praidd.* M. C.

1 PERERIN wyf yn hyn o fyd,
Ac alltud ar fy hynt,
Sy'n ceisio dilyn ol y praidd,
Y tadau sanctaidd gynt:
I 'mofyn gwlad sydd lawer gwell,
Er 'mod i 'mhell yn ol,
Trwy gymmorth gras y'mlaen mi af,
Dilynaf finnau'u hol.

2 Os rhaid i mi ymdrechu dro,
Milwrio a dwyn y groes ;
A myn'd dan ŵg a gwawd y byd,
Dros ennyd fer o'm hoes ;
Caf goron fry byth gyda'r saint,
Trag'wyddol fraint sy'n ol ;
Trwy gymmorth gras y'mlaen mi af,
Dilynaf finnau'u hol.

---

**231.** *Wrth ymadael.* M. H.

1 PER fawl i Grist am foddion gras ;
Am ddwr o'r graig mewn anial cras;
Am fanna da mewn diffaeth dir,
Am Yspryd gras, a geiriau gwir.

2 Y gair a glywsom, Iesu, 'n awr,
Dihidla'th fendith arno i lawr ;
A gad i ni sydd yma 'nghŷd,
Gael trigo fyth mewn nefol fyd.

*Pêr Haleliwia, pêr Haleliwia,*
*Pêr Haleliwia, mawl i'r Oen ;*
*Haleliwia, &c. &c. &c. byth fo'n cân.*

---

**32.** *Gras yn dechreu yn Jerusalem.* 8, 7.

1 PRIOD y trag'wyddol Hanfod,
Wela'i'n hongian ar y pren ;
Dyn a'r Duwdod ynddo'n trigo,
Yno'n crymmu lawr ei ben:
Gwelaf etto fwy rhyfeddod,—
Yn ei wyneb angau loes ;
Hedd yn rhedeg tros Galfaria,
Fel yr afon tan y gro's.

2 Er mai bychan yw ei dechreu,
Mae'n cynnyddu fyth i'r lan ;
Cododd eisioes c'uwch a'r fferau,
At y gwddwg daw'n y man:
C'od nes ffaelu'n lân a'i rhydio,
Yna llein w'r ddaear gron ;
Llawn o bysgod mawr a bychain ;—
Gwir efengyl hedd yw hon.

**233.** *Llawenydd am ddychweliad pechadur.* M.H.

Luc xv. 6, 7, 9, 10, 32.

1 PWY draetha'r fath lawenydd sy,
Trwy holl gynteddau'r nefoedd fry,
Pan ddel afradlon tua thref,
Pan aner un etifedd nef?

2 Boddloni'n llawen iawn mae'r Tad
Wel'd ffrwyth ei fythol gariad rhad ;
A'r Mab yn llon a edrych lawr
Ar bwrcas ei oddefaint mawr.

3 A hoffi gwel'd mae Yspryd Duw
Yr enaid marw wnaeth e'n fyw ;
A'r saint a'r holl angylion glân
Am gynnydd teyrnas Dduw a gân.

**234.** *Bendithion y groes.* 7, 6

1 PWY rydd im' falm o Gilead,
Maddeuant pur a hedd,
Nes gwneud i'm hyspryd edrych
Yn ëon ar y bedd ;
A diangc ar wasgfeuon
Euogrwydd creulon cry'?
'Does neb ond ef a hoeliwyd
Ar fynydd Calfari.

2 Bendithion ar fendithion,
Trysorau angau loes,
A ddaw i wael bechadur
Trwy haeddiant gwaed ei groes;
Yr afon goch lifeiriol
A darddodd dan ei fron,—
Mae miloedd yn myn'd adref
Y'ngrym yr afon hon.

**235.** *Buddugoliaeth Crist.* 8au.

1 PWY welaf o Edom yn d'od,
Mil harddach nâ thorriad y wawr,
Yn sathru dan waddon ei dro'd
Elynion yn lluoedd i'r llawr;
Ei wisg wedi'i lliwio gan wa'd,
Ei saethau a'i gleddyf yn llym,
Ei harddwch yn llanw'r holl wlad,
Yn ymdaith yn amlder ei rym?

2 Myfi 'r hwn wyf Alpha cyn byd,
Wyf gadarn i ladd a iachâu;
Fy ngeiriau a safant i gyd,
Pan ballo ffyddlondeb pob rhai.
Ond pa'm mae dy wisgoedd yn waed,
A'th gleddyf mor goched ei fin,
Fel un a fu'n sathru dan draed
Y gwinwryf y'ngwinllan y gwin?

3 Wrth weled y fyddin mor fawr,
Dan arfau, yn berwi gan lid,
Yn llanw holl gyrrau y llawr,
Y bobol a giliodd i gyd;
Ac yna mi godais fy llaw,
Ymleddais, gorchfygais fy hun;
Fy holl waredigion a ddaw
I maes o'u caethiwed bob un.

4 Pa feddwl, pa 'madrodd, pa ddawn,
Pa dafod all osod i ma's,
Mor felus, mor helaeth, mor llawn,
Mor gryfed ei gariad a'i ras!
Hwy redant fel moroedd mor gryf,
Nas dichon i bechod na bai
Wrthsefyll yn erbyn eu llif,
A'u llanw ardderchog di-drai.

---

**286.** *Y nef wedi'r adgyfodiad.* 8au.

1 PWY yno ddechreua y gân?
Ai Peder, ai Iago, neu bwy?
Neu Philip, neu Matthew, neu Io'n,
Neu Paul, neu un arall sydd fwy?
Prin iawn caiff y blaenaf y blaen
I seinio un sillaf i gyd,
Cyn byddo'r holl nefoedd ar dân
Yn moli mawr Brynwr y byd.

2 Bydd yno'r hen Batrieirch dewr,
Prophwydi, a'r holl saint a fu,
Yn canu cân Moses a'r Oen,
Yn hwylus y'nghanol y llu:
Merthyron, lu enwog a ddont,
A'r meibion afradlon a gaed,
I chwareu telynau o aur,
I'r Iesu a'u prynodd â'i waed.

3 Cenhedloedd, ac Abra'm a'i had,
Trwy'r Iesu a gannwyd yn wyn,
Pob gŵr yn dwyn palmwydd yn llon,
A'i delyn a'i thannau yn dŷn;
Trigolion pellafoedd y byd,
Cerubiaid, seraphiaid, a saint,
Gyd-ganant bêr foliant i'r Oen;—
Pwy ŵyr na chaf finnau'r un fraint!

**237.** *Bydd barod i gyfarfod â'th Dduw.* 8,8,6.

1 RHO in' d' achubol ras, O Dduw,
A gras i gofio tra fom byw
Fawr bethau'r bythol fyd;
Rho ini wel'd eu dirfawr bwys,
Ein cyflwr euog deimlo'n ddwys,
A byw i ti i gyd.

2 Gosod o'n blaen mewn trefn rydd fraw
Ofnadwy ddull y dydd a ddaw,
Pan ddelot ti o'r nef;
Yn barod rho in' fod yn awr
I sefyll yn y frawdle fawr,
A gwrando'th ddedryd gref.

3 Sicrhâu ein galwedigaeth gref,
Fo'n hamcan pennaf îs y nef,
Ein gofal mawr a'n gwaith;
Cyflawni'th gyngor doeth i gyd,
A godde'th 'wyllys dda o hyd,
A phara i ben ein taith.

4 Ac yna derbyn di, O Dduw,
Ein henaid drud o'r byd, i fyw,
Ac i deyrnasu fry;
Lle collir ffydd mewn golwg iawn,
A gobaith mewn hyfrydwch llawn,
A chariad oesol cry'.

---

**238.** *Mawredd cariad Crist.* 6, 4.

1 RHYFEDDA hyd a lled,
Fy enaid trist,
Uchder a dyfnder maith
Marwolaeth Crist;

Pan gym'rodd agwedd gwas,
A phechod cas ei blant,
Trwy farw yn ddi-gŵyn
I'w dwyn i bant.

2 Fe gym'rodd arno'n cnawd,
O ein brawd ni;
Safai ar ben y bryn,
Gwnai, 'n erbyn llu;
Gan sathru dan ei draed,
Trwy'i briod waed ei hun,
Ellyllon ar fyr dro,
Heb ado'r un.

3 Aeth dan y gyfraith faith,
Hedd ddaeth i ni;
Taraned Sinai gaeth,
Beth waeth gen' i:
Y llwybyr bellach sydd
'Yn rhydd i'r nefol wlad,
Ac nis gall gelyn dyn
Ddwyn un o'i had.

---

**239.** *Trugaredd Duw yng Nghrist.* 9, 8

1 RHYFEDDOL weithredoedd truga-
edd,
Sef prif briodoledd ein Duw!
Trugaredd a garodd dros fesur
Bechadur llwyr ammhur ei ryw:
Trugaredd o'i blaid sydd yn eiriol,
Trugaredd anfeidrol a mwyn;
Pan lefo fe 'ngolwg ei waeledd,
Fe wrendy trugaredd ei gwyn.

2 Mae achos o syndod annhraethol
Y'ngariad arfaethol nef wen;
Doethineb a gallu trag'wyddol
A ddyg y gwaith bywiol i ben:
Trugaredd i'r eiddil bechadur,
Rydd gysur y'ngwyneb ei gas;
Gogoniant trag'wyddol i'r Iesu,
Am drefnu cyfammod o ras.

---

**140.** *Wrth ymadael.* M. C. D.

RHYFELWYR ŷm tan arfau'r nef,
A byddin gref heb fraw;
Ymddengys buddugoliaeth ffydd,
Ryw ddedwydd ddydd a ddaw:
Ein harswyd sydd ar uffern fawr,
Trwy'r eigion dyfnfawr dân;
Er brwydyr-gyrch a brodyr gau,
Cawn wledda 'Nghanaan lân.

---

**41.** *Llyn Bethesda.* M. C.

Ioan v. 1—9.

'RWYF finnau'n un o'r lliaws mawr,
Sy'n gorwedd wrth y llyn;
Gan ddisgwyl am yr angel lawr
'Gynhyrfu'r dyfroedd hyn.

A raid im', Arglwydd, farw'n lân,
'Nol aros yma cŷd?
A fydd i eraill o fy mla'n
I gael iachâd o hyd?

Disgwyliaf etto wrth y Ne',
Pwy ŵyr, 'mhen gronyn bach,
Na ddaw y Meddyg da i'r lle,
I'm gwneuthur innau'n iach!

**242.** *Y morwr ysprydol.* M. C.

1 'RWY'n morio tua chartre'm Nêr,
Rhwng tonnau maith yn byw;
Fy neges bennaf tan y sêr,
Fo 'mofyn am fy Nuw.

2 Mae'r gwyntoedd yn fy nghuro'n ol,
A finnau 'dwyf ond gwan;
O cymmer, Iesu, fi'n dy gôl,
Yn fuan dwg fi'r lan.

3 Na'd fi ar aswy nac ar dde'
I redeg o dy fla'n;
Ond dilyn llwybrau Brenin ne',
Trwy ddyfnder dŵr a thân.

---

**243.** *Disgwyl wrth yr Arglwydd.* M. H.

1 'RYM yn dy erfyn, Arglwydd mawr,
Disgyn o entrych nef i lawr;
'Rhyd ysgol faith Jehofa'n ddyn,
'Roi bendith Jacob i bob un.

2 Gwna ni fel halen â dy ras,
Yn wyn, yn beraidd iawn ei flas;
Yn foddion yn dy law o hyd,
I dynnu'r adflas s' ar y byd.

3 Na âd ni feddwl dim na dweyd,
Na âd un amser i ni wneud,
Nac yn ddirgelaidd, nac ar g'o'dd,
Ond 'r hyn a fyddo wrth dy fodd.

4 Boed dy ogoniant glân dilŷth
Yn nôd a diben i ni byth;
Dy fywyd hardd a'th eiriau gwir
Yn wastad ini'n rheol bur.

5 Doed gogledd, de', a dwyrain bell,
I glywed y newyddion gwell;
Aed swn d' efengyl, Iesu, ma's,
Yn gylch o ddeutu'r ddaear las.

---

**244.** *Sancteiddhâd.* M. H.

1 SANCTEIDDRWYDD teg yw hardd-
wch tŷ
Ein Harglwydd gogoneddus cu;
Nid dull allanol tecca'i lun
Rydd fawl i Dduw, neu fudd i ddyn.

2 Anfeidrol berffaith ydyw'r Bod,
Sy'n derbyn glân drag'wyddol glod;
Datgana holl angylion nef
Ogoniant ei sancteiddrwydd ef.

3 Sancteiddrwydd gwirioneddol yw
Prydferthwch harddaf eglwys Dduw;
Ei disglair wisg a'i dirfawr fraint,
A sêl yr Ysbryd ar y saint.

4 Y galon lân nefolaidd yw
Anwylaf deg breswylfod Duw;
Ni wena Iôn ar enaid un
Na ddwg ei ddelw hardd ei hun.

5 O'r nef yn glau tyr'd Yspryd Glân,
Sancteiddia yma fawr a mân;
A'th holl rasusau tyr'd i'n plith,
Ac nac ymâd oddiwrthym byth.

---

**45.** *Wrth ymadael.* 8, 7.

TANGNEFEDD Duw, uwch deall dyn
A'n cadwo ni'n dragywydd,
Y'nghariad a gwybodaeth Duw,
A'r Iesu gwiw ein Harglwydd.

2 A bendith Duw, galluog, mâd,
Y Tad, y Mab, a'r Yspryd,
A drigo'n wastad yn ein plith,
Fel gwlith nefolaidd hyfryd.

---

**246.** *Wrth ymadael.* M. B.

1 TANGNEFEDD Duw i'n plith,
A'i fendith ini gyd;
I'n cadw'n gywir gyda'i waith,
Tra paro'n taith trwy'r byd.
*Molwch yr Iôn, Haleliwia,*
*Molwch yr Iôn, Haleliwia,*
*Haleliwia, &c. &c. molwch yr Iôn.*

---

**247.** *Moliant i'r Oen.* M. H.

1 TEILWNG yw ef, Tywysog hedd,
Ga'dd gynt ei ladd, a'i roi'n y bedd;
Teilwng i dd'od o'r bedd a byw,
Ac eistedd ar ddeheulaw Duw.

2 Caiff Iesu glod o hyn i ma's,
Yn lle'r drwg air a'r gwawd a ga's;
Ac ar ei ben ogoniant glân,
A choron ddisglair heb un dra'n.

2 Pa fraw all angau beri'n awr,
Er pan gyfododd Iesu mawr?
Fe dynodd ef ei golyn llym,
A 'speiliodd uffern fawr ei grym.

---

**248.** *Allan o Veni Creator.* M. H.

1 TERFYNA'n glau, O Yspryd gras,
Bob rhyw ymbleidiau ceccreth cas;
A dod y'mhob crist'nogol wlad
Wir gariad mwyn, a heddwch mâd.

2 Attolwg iti dyro rad,
I ni adnabod oll y Tad;
Ac adwaen, er ein cysur cry',
Ei anwyl Fab, sy'n eiriol fry:

3 A'th addef di, â pherffaith ffydd,
Ysprŷd y Tad a'r Mab bob dydd;
Un Duw a Sylwedd diwahân,
Ond tri Phersonau dwyfol glân.

4 I'r Tad, i'r Mab, i'r Ysprŷd Glân,
Rhown glod a mawl i gyd ar gân;
Hwn ydyw'r gwir drag'wyddol Dduw,
Bendithier byth ei enw gwiw.

5 A boed i'n hunig Arglwydd cu,
Mwy dywallt lawr o'i nefoedd fry,
Ei Ysprŷd ar ei blant i gyd,
O hyn o bryd hyd ddiwedd byd.

---

**19.** *Cân Sant Ambros.* 7au.

TI, O Dduw, a folwn ni,
'N Arglwydd pawb addefwn di;
Daear oll, drag'wyddol Dad,
Rydd it' fawl am ddoniau'th rad:
Canu'th glod, trwy'r byd uwch ben,
Wna angylion glân y nen;
Llefa'r nefoedd arnat fry,
A'r holl nerthoedd ynddynt sy.

Seraph tanllyd nef y nef,
Gyda'r cerub gwyd ei lef;
A'u lleferydd byth heb ball
Yr annerchant naill y llall:

Sanct, Sanct, Sanct, yw'r seinfawr gân,
Arglwydd Dduw Sabaoth glân;
Daear las a'r nef sydd lawn
O'th ogoniant disglair iawn.

3 Gylch dy faingc yn hyfryd gôr,
Ceir dy apostolion, Iôr;
Gwir foliannus nifer lon
Dy brophwydi, ger dy fron;
A merthyron d' eglwys gu
Yno'n lân ardderchog lu,—
Oll yn canu'th glodydd glân,
Oll yn moli Duw ar dân.

4 D' eglwys bur trwy gonglau'r byd,
Addef hon Dydi o hyd;
Ti y Tad, anfeidrol fawr,
Crëydd nef a daear lawr;
D' anrhydeddus, wir Fab rhad,
Gynt a'n prynodd ni â'i wa'd;
A dy Yspryd Sanctaidd di,
Y Diddanydd roist i ni.

---

**250.** AIL RAN. 7au.

1 TI yw Brenin nefol wlad,
Crist, trag'wyddol Fab y Tad;
Ni ddi'styrwyd gennyt ti
Fru y wyryf, erom ni.

2 Sethraist angau, rhoist ar led
Byrth y nef i bawb a'th gred;
Eiste'r wyt ar ddëau Duw,
Yn ei holl ogoniant gwiw.

3 Credu'r ŷm mai Ti a fydd
Barnwr pawb yr olaf ddydd;
Rho, gan hynny, gymmorth rhad
I'r rhai brynaist â dy wa'd.

4 Moes i ni'r anfeidrol fraint
'Gael ein cyfrif gyda'th saint;
Yma'n awr, a thraw i'r bedd
Mewn gogoniant byth a hedd.

---

**251.** RHAN 3. 7au.

1 ARGLWYDD, cadw'th saint i gyd,
A bendithia hwynt o hyd;
Llywia'th etifeddiaeth wen,
A dyrchafa hi i'r nen.

2 Yna molwn d' enw mawr,
'Nol ein gallu ar y llawr;
Yna'n well o lawer fry
Yn oes oesoedd yn dy dŷ.

3 Heddyw, Arglwydd, cadw ni
Rhag troseddu'n d' erbyn di;
Wrthym, wrthym trugarhâ,
Maddeu'n bai, a maedda'n pla.

4 T'wynned arnom, Arglwydd mâd,
Dy drugaredd gynnes rad;
Ynot ti'n hymddiried mae,
Na foed g'wradwydd in' na gwae.

---

**252.** *Ar ddydd Gŵyl Ystwyll.* 11au.

1.

TI'r harddaf o feibion y bore bob un,
Goleua'n tywyllwch â'th lewyrch dy hun;
Ti Seren y dwyrain, O tywys ni gyd
I'r lle y mae'n faban hoff Brynwr y byd.

2.

Yn oer ar ei gryd y disgleiria y gwlith,
Ei wely sy'n isel y gwartheg y'mhlith;
Gan engyl addolir ef yno mewn hûn,
Creawdydd, a Brenin, a Cheidwad pob un.

3.

O d'wed a rown iddo drysorau yn 'stôr,
Mŷr drud o'r bêr goedwig, a pherlau o'r môr;
Aroglau o Edom, ac aur o'r mwyn-glawdd,
A gemmau o'r mynydd, er ennill ei nawdd?

4.

Peth ofer yw tynnu'n hanrhegion i ma's,
Ein haur nis gall brynu ei nodded a'i ras;
Gwell lawer yw gweddi y gweinion gan Dduw
A'r yspryd briwedig ei aberth ef yw.

5.

Ti'r harddaf o feibion y bore bob un,
Goleua'n tywyllwch â'th lewyrch dy hun;
Ti Seren y dwyrain, O tywys ni gyd
I'r lle y mae'n faban hoff Brynwr y byd.

---

**258.** *Tragywyddoldeb yn nesâu.* 8, 7.

1 TRAG'WYDDOLDEB mawr yw'th enw,
Ti yn siccir yw fy lle;
Huriwr un diwrnod ydwyf,
Buan iawn yr âf i dre':
Mae'm diwrnod bron a'i orphen,
Mae fy haul bron myn'd i lawr;
Mae pob awel yn fy chwythu
Tua'r trag'wyddoldeb mawr.

2 Gwna fi'n foddlon iawn i 'madael,
Trefna'r awr a threfna'r fan,
Ond yn ymchwydd yr Iorddonen
Dal fy yspryd llesg i'r lan:
N'ad fi soddi dan y tonnau,
Pan bo angau'n fawr ei rym;
Dal fi yn dy dirion freichiau,
Na'd i'm henaid ofni dim.

---

**254.** *Y gwaith da.* 8, 8, 8, 6.

1 TRAG'WYDDOL glod i'n Harglwydd cun,
Am wneud mor dda ein newydd ddyn,
Yn ol ei ddelw lân a'i lun,
A'i feithrin ef â'r gwir;
Ei Yspryd Glân a ddechreu'r gwaith,
A'i dwg y'mlaen er rhwystrau maith,
Ac ef a'n tywys ar ein taith,
Nes d'od i'r nefol dir.

---

**255.** *Ar ddiwedd blwyddyn.* M. H.

1 TRA'r ŷm yn teithio yma ar hyd
Anialwch dyrus hyn o fyd,
Ei roddion didawl, gwerthfawr, gwiw,
A haeddant gysson gân i Dduw.

2 Y flwyddyn hon a wnaeth yn llawn
O drugareddau helaeth iawn;
O'i dechreu hyd ei diwedd hi,
Ein Duw, o'i nawdd, a'n cofiodd ni.

3 Gofalodd drosom yn ddi-baid,
Cyfrannodd in' bob peth oedd raid;
Parhaodd hefyd yn ein plith
Holl foddion gras, clod iddo byth.

4 Pechodau'r flwyddyn hon, O Dad,
Dilëa'n rhwydd a maddeu'n rhad;
Rho ras in' mwyach fyw trwy ffydd,
A rhodio'n fwy fel plant y dydd.

---

**256.** *Jubili.* 6, 8.

1 TROWCH, bechaduriaid trist,
Wrth lais efengyl fwyn,
O'ch cyflwr caeth at Grist,
Eich câr a wrendy'ch cwyn:
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth

2 Cymmerwch feddiant rhad
O'ch etifeddiaeth fawr,
A dewch i dŷ eich Tad,
Gan lawenychu'n awr;
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

3 Dadseinied gras ein Duw
Trwy holl derfynau'r byd;
A doed ei deyrnas wiw
Dros gyrrau'r dda'r i gyd:
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhyddid cu i'r enaid caeth.

---

**257.** *Rhan o'r Litani.* 7au.

1 TRWY'r dirgelwch mwya' fu,
Sef dy lân gnawdoliaeth gu;
Trwy dy enedigaeth dlawd,
A'th enwaediad yn y cnawd,—
Iesu grasol! gwared ni,
A c erglŷw ein Litani.

2 Trwy dy fedydd cyn dy waith,
A dy ympryd cyfyng maith;
Trwy dy brofedigaeth gre'
Gan dy gas mewn anial le,—
Iesu grasol! gwared ni,
Ac erglŷw ein Litani.

3 Trwy dy ing anfeidrol fawr,
A dy waedlyd chwŷs i'r llawr;
Trwy'th oddefaint ar y groes,
A dy ddwyfol, farwol loes,—
Iesu grasol! gwared ni,
Ac erglŷw ein Litani.

4 Trwy dy angau gwerthfawr iawn,
Ar Galfaria un prydnhâwn;
Trwy'th adgodiad glân o'r bedd,
Lle yr hunaist dro mewn hedd,—
Iesu grasol! gwared ni,
Ac erglŷw ein Litani.

5 Trwy'th esgyniad 'nol i dref,
A'th eiriolaeth yn y nef;
Trwy ddyfodiad d' Yspryd Glân,
A'i sancteiddiol, nefol dân,—
Iesu grasol! gwared ni,
Ac erglŷw ein Litani.

---

**258.** *Deisyfu rhyddid ysprydol.* M. C.

1 TYR'D, Arglwydd, a'th addewid rad,
Pur eiriau'r nef i ben;
Dyddiau fy rhyddid ro'w'd dan sêl
Yn llyfyr mawr y nen.

2 Mae dyddiau griddfan imi'n hir,
Caethiwed Babel fawr;
O na chawn deimlo'r Jubil fwyn
Yn agor dorau'r wawr!

3 Tebygwn pe bai'm traed yn rhydd
O'r tost gaethiwed hyn,
Na wnawn ond canu fyth tra f'wyf
Am ras Calfaria fryn.

---

**259.** *Erfyn arweiniad Duw.* M. B. D.

1 TYDI fy Nuw ei hun,
Anfeidrol berffaith Fôd,
Sy'n trefnu daear, da, a dyn,
O hyd i'th ddwyfol glod;
Cyf'rwydda'm henaid gwan,
Trwy'r anial dd'od y'mla'n;
Ac arwain fi 'mhob dyrus fan,
A'th niwl a'th golofn dân.

2 Dy Ysbryd Sanctaidd di,
Dywysodd fyrdd o saint,
O'i brofi moes bob dydd i mi
'R anfeidrol werthfawr fraint;
Fel dyfroedd gloyw clir,
I lonni'r llesg a'r gwan;
Diddanydd yn yr anial dir
I'm dal â'i ras i'r lan.

---

**260.** *Y Nefoedd.* M. H.

1 TYR'D nefol G'lommen, oddi fry,
A ch'od ni ar dy edyn cu;
Esgyn, a dwg ni fynu'n grwn
Uwchlaw holl bethau'r bywyd hwn.

2 O am gael golwg glir o'r wlad,
A gorsedd ein trag'wyddol Dad;
Lle'r eiste'n Prynwr mawr ei fri,
Mewn corph cyffelyb i'n cyrph ni!

3 Y saint o'i gylch addoli maen',
A holl lu'r nef a blyg o'i flaen;
Y Duw lewyrcha maes trwy'r dyn
Ei bur ogoniant ar bob un.

4 Pa bryd y daw y dydd, O Dduw,
Caf finnau esgyn yno i fyw;
Sefyll a phlygu yn eu plith,
A moli f' Arglwydd anwyl byth!

---

**261.** *Erfyn goleuni yr Yspryd Glân.* M. B.

1 TYR'D, tyr'd, O Yspryd Glân,
A'r gwir oleuni lawr;
Ein tristwch tro yn hyfryd hedd,
A'n nos yn oleu wawr.

2 Pâr i ni deimlo'n bai,
Ac arwain ni at Grist;
A dangos drugareddau'th air
Yn glir i'n henaid trist.

3 Ail fywyd moes i'n ffydd,
Symmuda'n hofnau syth;
Ac yn ein calon ennyn fflam
Y cariad bery byth.

4 Preswylia di o'n mewn,
Rho'n meddwl caeth yn rhydd;
A moli'r Tad, y Mab, a Thi,
Ein hyfryd waith a fydd.

**262.** *Veni Creator.* 8, 7.

1 TYR'D, Yspryd Glân, i'n c'lonnau ni,
A dod d' oleuni nefol;
Tydi wyt Yspryd Crist, dy ddawn
Sydd fawr iawn a rhagorol.

2 Llawenydd, bywyd, cariad pur,
Ydynt dy eglur ddoniau;
Dod eli'n llygaid, fel i'th saint,
Ac ennaint i'n hwynebau.

3 Gwasgara di'n gelynion trwch,
A heddwch dyro ini;
Os T'wysog ini fydd Duw Nêr,
Pob peth fydd er daioni.

4 Dysg ni adnabod y Duw Tad,
Y gwir Fab rhad, a Thithau;
Yn un trag'wyddol Dduw i fod
Yr hynod dri Phersonau.

5 Fel y molianner, y'mhob oes,
Y Duw a roes drugaredd;
Y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân,
Da datgan ei anrhydedd.

---

**263.** *Veni Creator.* 8, 7.

1 TYR'D Yspryd Glân, trag'wyddol Dduw,
Yr unrhyw â'r Tad nefol;
Yr unrhyw hefyd â'r Mab rhad,
Duw cariad tangnefeddol.

2 Llewyrcha'n c'lonnau ni â'th ras,
Fel byddo gas in' bechu;
Ac ini mewn sancteiddrwydd rhydd,
Bob dydd dy wasanaethu.

3 Ti y Diddanydd wyt yn wir
Y'mhob rhyw hir orthrymder;
Dy holl ddaioni di, a'th glod,
A thafod ni adrodder.

4 Y Ffynnon i'r llawenydd glân,
Y gloywlwys Dân cariadol;
Ac i'r Enneiniad, mawr ei les,
Sy'n rhoddi gwres ysprydol.

5 O Ysbryd Glân, i'n c'lonnau ni
Y gwir oleuni danfon;
Ac hefyd zêl, tra fom ni byw,
I garu Duw yn ffyddlon.

---

**264.** *Wrth ymadael.* 8, 7, 4.

1 TYRED, Ffynnon bêr y bywyd,
Llanw'n hyspryd â dy hedd;
Gad i'n mynwes feddu'th gariad
O'n 'madawiad hyd y bedd:
O dyfrhâ ni, &c.
Ar ein ffordd trwy'r anial fyd!

2 'Nawr am lais efengyl hyfryd,
Rhown yn unfryd glod i ti;
Yn ein calon, yn ein buchedd,
Caed ei pheraidd ffrwythau hi:
Bydd dy hunan, &c.
Byth y'mhob man gyda ni.

---

**265.** *Crist, Goleuni y byd.* M. C.

Ioan viii. 12. Dat. xxi. 23.

1 TYWYLLWCH, fel y fagddu fawr,
Orchuddiai'r ddae'r i gyd,
Nes i'n Hiachawdwr dd'od i lawr
I lwyr oleuo'r byd.

2 Palfalu'r wyf heb lewyrch Crist,
Wrth geisio'r ffordd i'r ne';
A chrwydro mewn anialwch trist,
I'r aswy ac i'r dde'.

3 Ond Iesu, fel yr haulwen bur,
Ddatguddia'r gwledydd draw;
A'r llwybyr i'r toreithiog dir,—
Tir hyfryd sydd ger-llaw.

4 Tu draw yn uchel dŷ ein Tad,
Trag'wyddol fangre'n Hiôr;
Yr Iesu sy'n goleuo'r wlad,
A llonni'r nefol gôr.

---

**266.** *Jubili.* 6, 8.

1 UDGENWCH, weision Duw,
Mewn udgorn melus mawr;
Gan ddwyn i ddynol ryw
Ragorol newydd 'nawr;
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhydd-did cu i'r enaid caeth.

2 Datgenwch oll ar g'oedd,
Dros led y ddaear las,
A llawen uchel floedd,
Anrhydedd Crist a'i ras;
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhydd-did cu i'r enaid caeth.

3 Mae gwaredigaeth hael,
Trwy rinwedd gwaed yr Oen,
I gaethion gweinion gwael,
Sy'n byw dan ddirfawr boen;
Blwyddyn y Jubili a ddaeth,
A rhydd-did cu i'r enaid caeth.

**267.** *Cariad Duw.* M. C.

1 UWCH pob rhyw gariad îs y nef,
Yw cariad pur fy Nuw;
Anfeidrol foroedd dyfnion maith,
Heb fesur arno yw.

2 Dechreuodd draw cyn creu y byd,
Fe bery fyth y'mla'n,
Heb un cyfnewid ac heb drai,
Pan elo'r byd ar dân.

3 O dewch, a gwelwch, chwiliwch ef,
Anfeidrol gariad mawr,
Ag sydd yn maddeu miloedd myrdd
O feiau yn yr awr.

---

**268.** *Golwg ar y nef.* M. B.

1 WEL daccw'r hyfryd fan
Mewn golwg gan ein ffydd!
Ac fel mae'r gwyntoedd yn cyfhâu,
Mae yn nesâu bob dydd.

2 'Does lle in' golli'r ffordd,—
Y dydd mae'r niwl o'n bla'n;
A'r nos, trwy'r holl anialwch hir,
Y golofn bur o dân.

3 Fe'n tywys Yspryd gras,
Yn gywir ma's o law,
Trwy ganol maith sychedig dir,
I'r Ganaan bur sydd draw.

4 Y dyfroedd gloyw'n lli'
O'r Graig i ni sy'n d'od,
A'n nertha ni, rai llesg a gwan,
Gael pechod dan ein tro'd.

5 'Nol addewidion gras,
Cawn dderbyn ma's o law
Drysorau gwell tu draw i'r bedd,
Nâ fedd yr India draw.

**269.** *Cariad y Gwaredwr.* 8, 8, 8, 6.

WEL dyma'r cariad sydd yn awr
Yn curo pob cariadau lawr,
Yn llyngcu enwau gwael y llawr
Oll yn ei ênw ei hun;
O fflam angerddol, gadarn, gref,
O dân ennynwyd yn y nef!
Trag'wyddol gariad ydyw ef,
Wnaeth Duw a ninnau'n un.

**270.** *O flaen y Cymmun.* 8, 7.

1 WEL dyma wledd yr addfwyn O'n,
O basgedigion breision;
A gwin puredig yn ddi-drai,
I lawenhâu y cleifion.

2 Ond gwledd yw hon gyfoethog, hael?
'Does diwedd 'gael 'mo honi;
Pwy na anturia 'mlaen yn rhwydd
I wledd yr Arglwydd Iesu?

3 Bwytêwn yn helaeth yn ei dŷ,
Mae ef i ni'n perthynu;
I'r claf, i'r gwan, i'r tlawd o hedd,
Mae cyflawn wledd gan Iesu.

4 Yn ëon yfwn îs y nen
Ffrwyth y Winwydden heddy';
Ar fyr cawn brofi fry ei blas,
O fewn i deyrnas Iesu.

**271.** *Brenin Sïon.* 8, 7, 4.

Esay xxxii. 1, 2.

1 WELE! Brenin a deyrnasa
Mewn cyfiawnder perffaith byth;
Dan ei hoff lywodraeth meddir
Rhyw fendithion rif y gwlith:
Wrth ei orsedd, &c.
Boed im' lynu tra fwyf byw.

2 Mae y Gwr rhyfeddol yma
Yn ymguddfa rhag y gwynt;
Ac yn lloches rhag y storom,
I'w holl bobol ar eu hynt:
Ni chaiff pechod, &c.
Byd, na satan ladd y rhai'n.

3 Y mae'r Iesu fel afonydd
Dyfroedd lawer mewn sych-dir,
Ac fel cysgod craig ragorol
Pan fo'r gwres yn para'n hir:
Wrth yr afon, &c.
Dan ei gysgod, trigwyf mwy.

---

**272.** *Cadernid a harddwch yr eglwys.* 8, 7.

1 WELE gadarn sylfaen Sïon,
Ar y graig drag'wyddol gref!
Pan falurio'r bryniau mawrion,
Saif preswylfa Brenin nef:
Wele ddisglair furiau'r ddinas!
Wele'i 'strydoedd hardd eu gwedd!
Wele, mewn adeilad addas
Orsedd-faingc Tywysog hedd!

2 Ar yr amryw wych ddinasoedd
Mawr ragora Sion gu;
Duw ei hun a adeiladodd
Yno'i deg frenhinol dŷ:
Gogoneddus bethau rhyfedd
A ddatguddir am y gaer;
Hardd Gaersalem yw gorfoledd
Ac anrhydedd yr holl ddae'r.

3 Hoffa'r Arglwydd ei phyrth gloywon,
Lle daw'r llwythau llon y'nghŷd;
Lle ymgynnull ei chantorion
A'i cherddorion o un fryd:
O mor hyfryd yw'r cyfarfod!
O'r fath orfoleddus lu!
Pêr ddadseinia'r ddinas hynod
Wrth foliannu'r Brenin cu.

---

**278.** *Ar ddydd Gŵyl Ystwyll.* 8, 7, 4.

1 WELE ganwyd y Messïas!
Daeth yn wir yr hyfryd ddydd;
Awn i Bethl'em gyda'r doethion,
Awn yn awr ar aden ffydd;
Ac offrymmwn, &c.
Ein hanrhegion iddo ef.

2 Testyn cân yr holl brophwydi,
Seren Jacob, Had y Wraig;
Silo Juda, Gwreiddyn Jesse,
'R hwn a 'siga ben y ddraig;
T'wysog heddwch, &c.
Yn y preseb gwelir ef.

3 Gelwir enw hwn Rhyfeddol,
  Tad pob trag'wyddoldeb yw;
Glân angylion a addolant
  Y Cynghorwr, Cadarn Dduw;
Cyd-addolwn, &c.
  Ninnau Dduw yn natur dyn.

4 Gorfoleddwn, a chyd-ganwn
  Heddyw beraidd, newydd gân;
Canys ganed ini Geidwad,
  'R hwn a gaed trwy'r Yspryd Glân:
Iechydwriaeth, &c.
  I drueiniaid trwyddo ddaeth.

---

**274.** *Crist wedi ennill y frwydr.* 8, 7.

1 WELE Iesu'r pen rhyfelwr
  'Nawr yn d'od o Edom wlad!
Coch ei wisg, a'i fraich yn rymmus,
  Draig yn glwyfus dan ei dra'd:
Am yr hyfryd fuddugoliaeth
  Canaf ronyn ar y llawr,
Hyd nes gwawrio'r hyfryd fore
  Cana'i'n nhrag'wyddoldeb mawr.

2 Clod i'r Iesu yn drag'wyddol
  Am ei ryfedd gariad rhad;
Buddugoliaeth, buddugoliaeth,
  Gaed yn berffaith yn ei wa'd;
Nerthoedd uffern a orchfygodd,
  Angau faeddwyd ganddo ef;
Yn oes oesoedd caiff ei foli,
  A'i glodfori yn y nef.

**275.** *Cariad brawdol.* 7, 4.
Col. iii. 14. 1 Ioan iii. 14. Ioan xiii. 34.

1 WELE mor ddymunol yw
Cariad brawdol,
Una hwn holl feibion Duw,
Yn drag'wyddol;
Rhwymyn pob perffeithrwydd cu
Ydyw cariad,
Gweddus yw i sanctaidd dŷ
Duw ein Ceidwad.

2 Y mae hwn, pan fyddo'n iawn,
Yn rhagori
Ar bob rhinwedd a phob dawn
Roddir ini;
Cariad brawdol, siriol, mwyn,
Sy'n dystiolaeth,
Ddarfod ini gael ein dwyn
O farwolaeth.

3 Cofiwn mwy orchymyn gwiw
Iesu tirion,
Cariad at ein gilydd yw,
Pur o'r galon;
Cofiwn am ei gariad ef,
Fel annogaeth;
Ac erfyniwn nawdd y nef
Ini'n helaeth.

**276.** *Ail ddyfodiad Crist.* 8, 7, 4.

1 WELE'n dyfod ar y cwmmwl!
Mawr yw'r enw s' iddo 'nawr!
Ar ei fraich ac ar ei forddwyd
Ysgrifenwyd ef i lawr:
Haleliwia, &c.
Groesaw, groesaw, addfwyn Oen.

2 Mil o filoedd, myrdd myrddiynau
O gymdeithion hardd eu gwedd,
Welir draw yn codi fynu
I'w gyfarfod ef o'r bedd:
Darfu galar, &c.
Daeth llawenydd yn ei le.

3 Nid oes yno gofio beiau,
Dim ond llawn faddeuant rhad;
Poenau'r groes, a grym y cariad,
A rhinweddau maith y gwa'd:
Darfu ofon, &c.
Dyma iechydwriaeth lawn.

---

**277.** *Y dyddiau diweddaf.* 7au.

Esay ii. 2—4.

1 WELE'r dyddiau'n gwawrio draw,
Amser hyfryd sydd ger llaw;
Mynydd tŷ ein Harglwydd mâd
Fydd yn uwchaf trwy'r holl wlad.

2 Gwelir teyrnas Iesu mawr
Yn ben moliant ar y llawr;
Daw'r Cenhedloedd yn gyttûn
I ddyrchafu Mab y dyn.

3 Gwelir pobloedd lawer iawn
Yn dylifo atto'n llawn;
Cyfraith Iesu gadwant hwy,
Ac ni ddysgant ryfel mwy.

4 Deued Gogledd, Dwyrain, De',
A'r Gorllewin atto fe;
Doed terfynau'r dda'r i gyd
I ddyrchafu Prynwr byd.

## 278. *Mabwysiad.* M. H.

1 Ioan iii. 1—3. Gal. iv. 6.

1 WELE'r fath gariad rhyfedd, rhad,
A roddwyd arnom gan y Tad;
Ni bechaduriaid, marwol ryw,
Ein galw wnaed yn blant i Dduw.

2 Ac ni amlygwyd etto'n wir
Mor fawr y cawn ni fod cyn hir;
Ond pan ddisgyno Crist o'r nef,
Cawn fod yn debyg iddo ef.

3 Gwirionedd yw fod pob yr un
S' a'r gobaith hwn yn puro'i hun;
Oddiwrth bob nwyd a phechod cas,
Yn bur fel Crist, trwy rym ei ras.

4 Am hyn, os caf, O nefol Dad,
Ran fabaidd yn dy gariad rhad;
I orphwys doed dy Yspryd di
Fel c'lommen ar fy nghalon i.

5 Na ad im' mwyach fel caeth was,
Nesâu'n ddigrêd at orsedd gras;
Rho ffydd i lefain, Abba, Dad,
Ac arddel fi fel un o'th had.

---

## 279. *Cysur i'r cystuddiol.* M. H.

Esay lvii. 15—19.

1 Y DYRCHAFEDIG uchel Dduw,
Ei einioes annherfynol yw;
Preswylio mae y cyssegr fry,
A sanctaidd yw ei enw cu.

2 Ond disgyn wna i fyd sydd îs,
Mae ganddo ar y ddaear lŷs;
Yr yspryd cystuddiedig yw
Y drigfan lle mae'n hoffi byw.

3 Yr enaid isel a fywhâir,
A'r un cystuddiol gan ei air;
Y galon ddrylliog a iachâ,
A'r blin ei feddwl esmwythâ.

4 O dryllia di y funud hon
Y galon garreg dan ein bron;
A'r un friwedig rhwyma hi,
Trwy roi dy heddwch, Iôr, i ni!

---

**280.** *Wrth ymadael.* M. C.

Y GEIRIAU heddyw, Arglwydd Dduw
O'th ras a glywsom ni;
Yn ein calonnau planna hwynt,
Fel dygont ffrwyth i ti.

*Boed diffuant barch a moliant*
*Fyth i Frenin y gogoniant;*
*Ar ei air y byddo llwyddiant,*
*I ddwyn heddwch, i ddwyn heddwch,*
*I derfynau eitha'r byd.*

---

**281.** *Prynedigaeth werthfawr.* M. H.

1 Y MAE dedwyddwch cyrrau'r byd
Yn gorphwys ar dy angau drud;
Hyfrydaf waith angylion fry
Yw seinio brwydyr Calfari.

2 O holl weithredoedd nef yn un,
Y bennaf oll oedd prynu dyn;
Rhyfeddod mwyaf o bob oes
Oedd, Iesu, 'th weled ar y groes.

3 Dy waed yn llifo dros y byd,
Wel dyma'r trysor mwyaf drud!
Fyth na foed ond dy farwol glwy'
Yn sylfaen pob caniadau mwy.

4 Darfydded canmol pob rhyw un,
Darfydded sôn am haeddiant dyn;
Darfydded ymffrost o bob rhyw,
'Does ymffrost ond y'nghroes fy Nuw.

---

**282.** *Y dydd a nesaodd.* 7, 4.

1.

Y MAE heddyw nefol wawr—yn llewyrchu
Ac yn chwalu'r t'wyllwch mawr—yn y fagddu;
Haul Cyfiawnder hyfryd iawn—a ddisgleiria,
Ernes yw o fore llawn—Haleliwia.

2.

Y mae'r dyddiau'n dod i ben—dyddiau hyfryd,
Pan ddyrchefir Brenin nen—tros yr hollfyd;
Fe â rhinwedd angau drud—pen Calfaria,
Trwy ardaloedd pella'r byd—Haleliwia.

3.

Fe bregethir Crist a'i ras—mewn awdurdod
Trwy yr India ëang fras—yn ddiddarfod;
Fe â swn yr udgorn pur—hyd yr eitha',
I'r Gorllewin anial dir—Haleliwia.

4.

Rhaid i'r Iesu'n helaeth gael—y mae'n haeddu
Gwel'd o ffrwyth ei lafur hael—a'i ddiwallu
Miloedd myrdd o estron lu—am y cynta',
Ddont i brofi'i gariad cu—Haleliwia.

**283.** *Diwedd pob peth yn nesâu.* 8, 7.

1 Y MAE'r haulwen wedi blino
Teithio yn yr wybren las,
Daear drom sy mron diffygio
Porthi'r llysiau yn y ma's;
Mae'r planedau'n gwaeddi, Diwedd;
Pob creadur yn ei ryw
Sy'n och'neidio am gael gweled
Gwir ddatguddiad meibion Duw.

2 Y mae'r oriau yn fy ngalw,
Ydynt, beunydd, i bar'toi,
Cyn dêl tân ar ddinas distryw,
Tua Söar draw i ffoi:
'Mafael ynof, Iôr, yn fuan,
Onid ê ni ddeuaf byth;
Cyn dêl tân i losgi Sodom,
Yn y bryniau gwna fy nyth.

---

**284.** *Gwerthfawrogrwydd Crist.* M. H.

1 YMDRECHWN mwy i draethu ma's
Fawrhydi'r Oen, a'i werthfawr ras;
Anfeidrol werthfawr yw ei wa'd,
I'n gwneud yn rhydd, a'n prynu'n rhad.

2 Llawenydd mawr sy'n llifo ma's
O ffynnon rad ei nefol ras;
I ddisychedu'r enaid sydd
At Grist yn ffoi ar aden ffydd.

3 Mewn gofid trwm a galar trist,
Mae cysur cryf y'nghariad Crist;
Esmwythder hoff dan gystudd hir,
A noddfa dêg mewn anial dir.

4 Mae'n olud maith mewn tlodi mawr,
Mae'n nefoedd lon ar ddaear lawr;
Mae'n fywyd da yn angau du,
A rhan drag'wyddol freiniol fry.

**285.** *Buddioldeb yr Ysgrythyrau.* M. H.

1 Y'MHOB rhyw drallod blin y b'wyf,
Ehedeg at fy Nuw yr wyf;
Dim gobaith mewn un lle ni chair,
Ond yn ei 'sgrifenedig Air.

2 Yn Llyfyr gras fy nefol Dad
'Rwy'n cael i'm blinder esmwythâd;
Ac y'mhob dalen bur o'r bron
Wyneb a llais fy Mhrynwr llon.

3 Hwn yw y maes, ond chwilio'n iawn,
Lle'r gwerthfawr berl cuddiedig cawn;
O hwn daw sanctaidd ddwr i ma's,
I ddiffodd syched pechod cas.

4 Tŷf yma bren gwybodaeth llawn,
Heb berygl ynddo os bwyttâwn;
Hwn yw Datguddiad Duw ei hun,
Uwch rheswm dall a synwyr dyn.

5 O boed i'th Air, alluog Dduw,
Gyfeirio 'nhraed i tra fwy' byw;
Rhag troi o'r brif ffordd ddedwydd fwyn,
Ar dy ddeheulaw sydd i'n dwyn.

**286.** *Cyflawnder Crist.* M. C.

Ioan i. 14, 16.

1 YM mhlith holl ryfeddodau'r nef,
Hwn yw y mwyaf un,
Sef gwel'd anfeidrol ddwyfol Fod
Yn gwisgo nattur dyn.

2 Ni chaiff fod eisiau byth na thrai,
Tra seren yn y nef,
Ar neb o'r rhai a roddo'u pwys
Ar ei gyflawnder ef.

3 Doed y trueiniaid yma 'nghŷd,
Oll yn newynog sy ;
Cânt eu diwallu oll yn llawn
O ras y nefoedd fry.

4 Fe ylch ein beiau ffwrdd â'i waed,
Fe'n canna oll yn wỳn ;
Fe'n dwg o'r anial blin i maes
At deulu Sïon fryn.

*Medda drysor fel y ce'nfor,*
*Byth ni cheisiaf ddim yn rhagor,*
*Hedd a bywyd yw ei ffafor,*
*Hedd rhagorol, bywyd bythol,*
*Haleliwia, molwch ef.*

---

**287.** *Dirgelwch Rhagluniaeth.* 9, 8.

1 YMSYMMUD mewn llwybrau dirgelaidd,
I wneuthur ei wyrthiau mae Duw ;
Ei draed yn yr eigion a esyd,
A'r gyrwynt ei gerbyd ef yw :
Y'mhell mewn dyfnderoedd annhraethol
O ryfedd fedrusrwydd di-flin,
Trysora'i amcanion ardderchog,
A gwna ei ewyllys ei hun.

2 Chwi, seintiau, cymmerwch galondid,
Cymmylau, a ofnwch yn awr,
Ynt lawn trugareddau, a thorrant
Yn helaeth fendithion i lawr :

Na fernwch yr Iôn wrth eich synwyr,
Hyderwch o hyd am ei hedd;
Tu cefn i bob gygus ragluniaeth
Mae gwenau i'w gwel'd ar ei wedd.

3 Yn fuan addfeda'i ddibenion,
Gan agor yn gyson bob dydd;
Yn chwerw gall fod y blaguryn,
Ond pêr y blodeuyn a fydd:
Un gibddall yw pob anghrediniaeth,
Ei waith nis amgyffred yn wir;
Dëonglydd ein Duw yw ei hunan,
Gwna'n eglur bob gweithred cyn hir.

---

**288.** *Adda a Christ.* 6. 4

1 YN Eden ardd mae'n wir,
Fe gofir hynny'n hir,
Fe gwympwyd lawr;
Ond Adda'r Ail a ddaeth,
Ein codi'n uwch a wnaeth,
Fe'n gwelir ni oedd gaeth,
Mewn rhydd-did mawr.

2 Os camwedd ddaeth i'r byd,
Trwy'r Adda cynta'i gyd
Er chwerwder chwith;
Gwir Adda'r Ail o'r nef
A'i llwyr orchfygodd ef,
O, f'enaid, cwyd dy lef,
Molianna fyth.

3 O, f'enaid, deffro'th gân,
O ddedwydd glodydd glân,
Mawr yw dy fraint;

Trugaredd fawr ei dawn,
Gwir etifeddiaeth lawn,
Cymdeithion hyfryd iawn,
Duw'r nef a'i Saint.

---

**289.** *Eden a Chalfaria.* 8. 8. 6.

1 YN Eden, cofiaf hynny byth,
Bendithion gollais rif y gwlith,
Syrthiodd fy nghoron wiw;
Ond buddugoliaeth Calfari
Ennillodd fwy yn ol i mi,—
Mi ganaf tra fwy' byw.

2 Ar Galfari y'ngwrês y dydd
Fe gawd y gwystyl mawr yn rhydd,
Trwy dywallt gwaed yn lli;
'Does dim heb dalu, rhoddwyd iawn,
A chroeswyd llyfrau'r nef yn llawn,
Heb ofyn dim i mi.

3 Ffydd! daccw'r fan, a daccw'r pren,
Yr hoeliwyd arno D'wysog nen,
Yn wirion yn fy lle;
Y ddraig a faeddwyd ganddi'i hun,
Can's clwyfwyd dau, gorchfygodd un;
A'r Iesu oedd efe.

---

**290.** *Blino ar y Creadur.* M. C.

1 YN fuan gâd, O f'enaid cu,
Wrthddrychau'r ddaear hon;
Nid oes, er chwilio, ynddynt oll,
Ond blinder prudd i'm bron.

2 Nid yw'r creadur oll i gyd,
Ond trwm a llwythog faich;
Am hynny'n brysur rho dy bwys
Ar gref a dwyfol fraich.

3 Rho ffarwel byth i bob rhyw chwant,
Pob pleser is y nen;
A chymmer Iesu o dy fodd
Yn brïod ac yn ben.

4 Ni wela'i wrthddrych mewn un man,
O'r ddaear las i'r ne',
A dâl ei garu gennyf mwy,
Yn unig ond efe.

---

**291.** *Adgyfodiad Crist a'i bobl.* M. C.

1 YN fyw pan gododd Crist o'r bedd,
A satan dan ei dra'd;
Rhoes wystyl siccir iawn i'w saint,
Caent hwythau oll ryddhâd.

2 Er iddynt huno dro mewn hedd,
Bob un mewn gwely pridd;
Pan gano'r udgorn, d'ont i gyd
I'r lan, yr olaf ddydd.

3 Os undeb feddwn 'nawr trwy ffydd
A'r Gwr fu ar y groes;
Ac os yn ufudd y parhêwn
Trwy ystod fer ein hoes;—

4 I ni, er anheilynged ŷm,
Y ceidw'r Duw di-lyth,
Hardd goron y gogoniant glân,
'R hon ni ddiflanna fyth.

5 Rho, ynte, Nêr, in' ras a nerth
I fyw it' bob yr un;
A chanu'n bêr ein taith ar ben,
Fel hyn yn angau'i hun;—

6 "Yr Oen a'm prynodd ar y pren,
Yn fyw mi wn ei fod;
Caf etto weled Duw'n fy nghnawd,
A chanu byth ei glod."

---

**292.** *Y Ddeddf Foesol.* 9. 8

1 YN Sïon mae cyfraith ragorol,
Gan Dduw yno'n rheol fe'i rhoed;
Un weddus, ddaionus i ddynion,
Ni bu un mor union erioed:
Ni ofyn ddim mwy nâ chyfiawnder,
Llai gennym ni chymmer ychwâith
Melldithia i ddistryw diddarfod,
A dorro'i chyfammod un waith.

2 Pe byddai fy nattur yn berffaith,
Mi gadwn y gyfraith i gyd:
Myfyrio yn hon f'ai 'nigrifwch,
A'i gwneud fy hyfrydwch o hyd:
Ac er nad oes gennyf un gobaith
Byth bellach *trwy*'r gyfraith gael byw;
'Does obaith am nefol drigfannau
*Heb* gadw glân ddeddfau fy Nuw.

3 Draw gleddyf cyfiawnder yn deffro,
O ryfedd! i daro Mab Duw;
Gwnaed T'wysog y nef yn anafus,
Er mwyn i rai beius gael byw:

Fe dalodd ein dyled bob tippyn,
Mae'n awr i'r credadyn ryddhâd,
A gras i fucheddu yn foesol
Trwy rinwedd annhraethol y gwa'd.

---

**293.** *Diogelwch y Credadyn* M. H.

Ioan 5. 24.

1 YN wir, yn wir, medd Gwir ei hun,
Pob cyfryw ddyn sy'n gwrando'm llef,
Gan gredu'n iawn i'r Tad a'm rhoes,
Mae didrangc einioes ganddo ef.

2 Y dyn yr hwn sy'n ufuddhâu
I'm geiriau hyfryd i trwy ffydd,
Ni ddaw i farn, ond trwodd aeth
O angau caeth i fywyd rhydd.

---

**294.** *Buddugoliaeth a ffyddlondeb Crist.* 11au.

1.

YR afon a lifodd rhwng nefoedd a llawr,
Yw sail fy ngorfoledd a'm cysur yn awr;
Ar fynydd Calfaria caw'd congcwest a hedd,
A'n brenin sy'n cadw agoriad y bedd.

2.

Wel, bellach, dechreuwn, mae'n ddigon o bryd
I seinio caniadau i Brynwr y byd;
Efe wnaeth y cwbwl, ac iddo bo'r clod,
Bydd canu am dano tra'r nefoedd yn bod.

3.

Fe gawsom y cyfaill ffyddlonaf sy'n bod,
'R addewid a roddodd ni thorrodd erio'd;
Er byw'n ei ogoniant y'nghanol y nef,
Mewn awr o gyfyngder fe wrendy ein llef.

**295.** *Pedwar Tymmor y Flwyddyn* 8. 7.

1 YR egin gwan, gan eira gwyn,
Gysgodir yn y Gauaf;
Mae'r rhew a'r oerfel o wir fudd,
Y gwlaw a'r stormydd garwaf.

2 Y Gwanwyn hoff sy'n gwenu'n hardd,
Trwy'r maes, a'r ardd, a'r mynydd;
A thegwch y gre'digaeth fawr
Ymddengys 'nawr o'r newydd

3 Y borfa deg a'r ŷd a dardd,
Y wlad a chwardd gan flodau;
A'r adar gwâr trwy'r goedwig wyrdd
A byngciant fyrdd o geingciau.

4 Gwresoga'r Haf y Gogledd o'r,
Dadleitha'r môr rhewedig;
A chyfoethoga'r ddaear wael
A'i roddion hael caredig.

5 Yr Hydref teg cyfoethog, ha'l,
Wobrwya'n gofal cywir;
Addfeda ffrwythau'r ddaear fras,
A chnwd y ma's a fedir.

6 'Mhob rhan, O Dduw, o'r flwyddyn frau,
Dy ddoniau a dderbyniwn;
Dy foliant mawr o hyn i ma's,
Trwy nerth dy ras a draethwn.

---

**296.** *Crist yn Noddfa.* 6, 6. 8.

YR Hollalluog Dduw,
Fy unig noddfa yw,
Yr hwn a fu ar Galfari
Yn prynu dynol-ryw:

Ei nerth os caf, pa elyn saf
O flaen fy Naf o'r nef?
Dall satan llym, sy'n fawr ei rym,
I beri dim un niwed im',
Er maint ei ddigter ef.

---

**297.** *Calondid oddiwrth fuddugoliaeth Crist.* M. B.

1 YR Iesu ga'dd y dydd,
Ca'dd fuddugoliaeth lawn,
Yn erbyn uffern faith ei hun,
Ar groesbren un prydnhawn.

2 Agorodd byrth y nen
O led y pen i rai
Cystuddiol, gorthrymedig, gwan,
Sy'n griddfan dan eu bai.

3 Am hynny awn yn hŷ
Trwy ganol lluoedd maith,
Heb ofni dyfais, llid, na grym,
Gelynion llym ein taith.

4 Cyd-deithiwn yn y bla'n,
Yn lân i Sion fryn;
Lle mae myrddiynau maith mewn hwyl
Yn cadw gŵyl am hyn.

---

**298.** *Duw oedd y Gair.* M. C.

Ioan 1. 1—3, 14.

1 YR oedd y Gair cyn creu y dda'r,
Anifail gwâr na dyn;
A'r Gair oedd gydâ Duw yn byw,
A'r Gair oedd Dduw ei hun.

2 Ei law a wnaeth y byd mor dda,
A'i gynnal wna i gyd;
Pen ar yr holl gre'digaeth faith,
Ei waith, yw Prynwr byd.
3 Ond wele daeth o'r nef i lawr,
Heb fawr o barch na bri;
A thrigodd yma'n rhyfedd dlawd,
Mewn gwisg o gnawd fel ni.
4 Ei wir ogoniant welodd rhai,—
Trwy'r cnawd llewyrchai ma's,—
Fel unig Fab y Tad, yn llawn
O bob rhyw ddawn a gras.

**299.** *Myfi yw'r seren fore eglur.* 6. 8.

1 Y SEREN fore sydd
Yn ymlid draw y nos;
A thry yn oleu ddydd
Dywyllwch llawer o's:
Eich llygaid trowch, genhedloedd trist,
I ganfod cryf ddisgleirdeb Crist.
2 Gwyn fyd y dydd y daeth
Yr Iesu mwyn i'r byd;
Taleithiau'r ddaear faith
Cyd-lawenhewch i gyd:
Dadseiniwch byth Hosanna ber,
Gan godi'r swn yn uwch nâ'r ser.

**300.** *Y galarwyr gwynfydedig.* 8. 7.

1 YSPRYD sych, pa les wna hwnnw?
Rhagrith gwag, neu grefydd gau?
Duwiol dristwch am ein pechod,
Ar y rhai'n rhagori mae:
Calon ddrylliog, gystuddiedig,
Ni ddirmygir byth gan Dduw;
Ger ei fron mae'n aberth peraidd,
Gwaith ei Yspryd Sanctaidd yw.

2 Crist sydd Gyfaill i'r pechadur
  Edifeiriol am ei fai;
'R yspryd clwyfus geiff yn wastad
  Ei hoff ffafar E' fwynhâu;
Gwyn eu byd yr holl alarwyr,
  Dedwydd fyddant cyn bo hir;
Cânt ddiddanwch melus hyfryd,
  Mae addewid Crist yn wir.

---

## MAWL I'R DRINDOD.

### I.—M. H.

Gogoniant, moliant, parch a bri,
I'r Un a Thri trag'wyddol fyth;
Y Tad, y Mab, a'r Yspryd Glân,
Fel gynt, tra bo na chan na chwyth.
  (GWEL HEFYD HYMN 152.)

### II.—M. H. D.

I'r Tad, am greu, a charu'n rhad,
I'r Mab, am wneud gwir iawn a'i wa'd,
A'r Yspryd Glân, am weini gras
I ddynion llwm y ddaear las;
Gogoniant glân trwy'r byd uwch ben,
Ac yn anneddau dyn is nen,
Fel gynt yr oedd cyn bod y byd,
Y mae pryd hyn, a bydd o hyd.

### III.—M. C.

I'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân,
  Mewn hyfryd gân o hyd;
Rhoed pawb trwy'r byd bereiddiaf fawl,
  A'r nefawl gôr i gyd.

### IV.—M. C. D.

I'r Tad, am greu, a charu'n rhad,
  I'r Mab, am brynu'n ddrud,
A'r Yspryd Glân, Diddanydd mâd,
  Am selio'r saint i gyd;
Gogoniant byth heb baid uwch ben,
  Trwy holl drigfannau'r nef,
Ac yn anneddau dyn is nen,
  A llafar uchel lef.

V.—M. B.

Rhoed pawb trwy'r byd ber fawl,
A'r nefawl gôr i gyd,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Ysptyd Glân,
Mewn hyfryd gân o hyd.

VI.—M. B. D.

I'r Tad, am garu'n rhad,
I'r Mab, am brynu'n ddrud,
I'r Yspryd Glân, Diddanydd mâd,
Am selio'r saint i gyd;
Gogoniant byth uwch ben
Trwy holl drigfannau'r nef;
Ac yn anneddau dyn is nen,
A llafar uchel lef.

VII.—2. 8.

Ar gân,
I'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd Glân,
Fel engyl Duw i gyd ar dân,
Rhoed mawr a mân ogoniant mwy,
Tra paro byrion ddyddiau'r byd,
Ac fry o hyd trwy oesoedd hwy.

VIII.—5. 8.

Gogoniant i'r Tad, a'n carodd mor rhad,
I'r Mab, am ein prynu ar bren;
I'r Yspryd, un wedd, rydd gyssur a hedd,
I ddynion anniddan is nen.

IX.—6. 4.

Gogoniant rhown ar gân
I'r Drindod heb wahan,
Yr Un yn Dri;
I'r Tad am greu y byd,
I'r Mab am brynu'n ddrud,
A'r Yspryd Glân y'nghyd,
Rhown barch a bri.

X.—6. 4.

I'r Un a Thri boed mawl,
Mewn didawl gân!
Pob parch, a bri, a chlod,
I'r Drindod lân!
Am gariad oesol cry',
Am brynu fry ar bren,
Am selio'r seintiau mwyn,
A'u dwyn i'r nen.

XI.—6. 4. 8. 7.

Drag'wyddol Un a Thri!
Y clod, y parch, a'r bri,
A llafar fawl,
Mewn cân ddi-dawl i ti!—
Y Tad, am greu a charu'n rhad,
Y Mab, am wneud gwir iawn â'i wa'd,
A'r Ysbryd Glân, am buro,
Heb flino, 'r gwaela ga'd.

XII.—6. 6. 8.

Drag'wyddol Un a Thri!
Y clod, y parch, a'r bri,
A llafar fawl, mewn cân ddi-dawl,
A fyddo mwy i ti!
Y Tad, o hyd, am garu byd
Oedd wael ei bryd, a'th gas;
Y Mab, un wedd, am brynu hedd,
A chongc'ro 'r bedd, â'th loyw gledd,
A'r Ysbryd Glân, am ras.

XIII.—6. 8. (GWEL HYMN 126.)

XIV.—7au.

Molwch Dduw pob bendith ddrud,
Molwch bawb trwy gyrrau'r byd;
Molwch, luoedd nef, ar gân,
Dad, a Mab, ac Ysbryd Glân.

XV.—7au.

Molwch fyth Jehofa Dduw,
Ffynnon pob rhyw fendith yw;
Molwch Ef trwy'r ddaear lâs,
Am ei roddion hael a'i ras;
Molwch, luoedd nef, ar gân,
Dad, a Mab, ac Ysbryd Glân.

XVI.—7au.

Molwch fyth Jehofa Dduw,
Ffynnon pob rhyw fendith yw;
Molwch ef trwy'r ddaear las,
Am ei roddion hael a'i ras;
Molwch ef trwy'r byd uwch ben,
Luoedd disglair nefoedd wen;
Moled pawb, â llafar gân,
Dad, a Mab, ac Ysbryd Glân.

XVII.—7. 4.

Molwch bawb trwy'r ddaear Dduw, Haleliwia,
Ffynnon pob rhyw fendith yw, Haleliwia,
Molwch, luoedd nef, ar gân, Haleliwia,
Dad, a Mab, ac Yspryd Glân, Haleliwia.

XVIII.—7. 6.

I'r Tad, a'r Mab, a'r Yspryd,
Y bo gogoniant gwiw,
Trwy holl drigfannau'r gwynfyd,
A'r byd lle'r ŷm yn byw;
Fel 'roedd cyn bod y bydoedd,
Y mae bob munud awr;
A bydd yn nef y nefoedd
Trwy drag'wyddoldeb mawr.

XIX.—8au.

Clodforwch, nefolion i gyd,
A chwithau, drigolion y llawr,
Hael Ffynnon bendithion y byd,
Y Drindod mewn Undod yn awr:
Y Tad, am ein caru mor rhad,
Y Mab, am ein prynu ar bren,
A'r Yspryd, am weini iachad
I gleifion anniddan is nen

XX.—8. 8.

Molwch Dduw, holl ddaearolion,
Molwch Ffynnon pob bendithion;
Molwch Ef, drigolion gwynfyd,
Molwch Dad, a Mab, ac Yspryd.

XXI.—8. 8. 8.

I'r Tad, am greu a charu'n rhad,
I'r Mab, am wneud gwir iawn â'i wa'd,
A'r Yspryd Glân, am weini gras;
Gogoniant byth trwy'r byd uwch ben,
Ac yn anneddau dyn is nen,
Nes elo'n ulw'r ddaear lâs.

XXII.—6 llin. 8au.

I'r Tad, am greu a charu'r byd,
I'r Mab, am ddod i'n prynu'n ddrud;
A'r Yspryd Glân, Diddanydd mâd,
Am weini'n rhwydd ei roddion rhad;
Gogoniant byth trwy'r byd uwch ben,
Ac yn anneddau dyn is nen.

XXIII.—8. 8. 6.

I'r Tad, am greu, a charu'n rhad,
I'r Mab, am wneud gwir iawn â'i wa'd,
A'r Ysprydd Glân ynghŷd;
Gogoniant byth trwy'r byd uwch ben,
Ac yn anneddau dyn is nen
Tra paro dyddiau'r byd.

XXIV.—8. 8. 8. 6.

I'r Tad, am greu a charu'n rhad,
I'r Mab, am wneud gwir iawn â'i wa'd,
A'r Ysbryd Glân, Diddanydd mâd,
Am selio'r saint i gyd;
Gogoniant byth ar gân uwch ben,
Trwy holl drigfannau'r nefoedd wen,
Ac yn anneddau dyn is nen
Tra paro dyddiau'r byd.

XXV.—8. 7.

Gogoniant, moliant, parch, a bri,
I'r Un a Thri anfeidrol,
Y Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd Glân,
Mewn hyfryd gân drag'wyddol.

ARALL.

Clodforwch fyth heb dewi'r Tad,
Mab rhad, ac Ysbryd sanctaidd,
Chwi bawb o'i saint dan wybren sy,
Ac fry y llu nefolaidd.

XXVI.—8. 7.

Mawl i Dduw trwy gyrrau'r ddaear,
Mawl yn llafar, blant y llawr;
Mawl i Ffynnon pob bendithion,
Mawl, nefolion, bob yr awr:
Mawl i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Mawl mewn hyfryd felus gân;
Mawl i'r Drindod yn yr Undod,
Mawl nes elo'r byd ar dân.

XXVII.—8. 7. 3.

Mawl i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Mawl mewn hyfryd felus gân;
Mawl i'r Drindod yn yr Undod,
Mawl nes elo'r byd ar dân:
Moliant mawr, yma 'nawr.
Ac mewn llonfyd uwch y llawr.

### XXVIII.—8. 7. 4.

Mawl i'r Tad, a'r Mab, a'r Ysbryd,
Mawl mewn hyfryd felus gân ;
Mawl i'r Drindod yn yr Undod,
Mawl nes elo'r byd ar dân :
Mawl yn unfryd, &c.
Fyth mewn llonfyd uwch y llawr.

### XXIX.—9. 8.

I'r Tad boed gogoniant dihalog,
A'r Mab, ei Enneiniog ei hun ;
I'r Ysbryd Glân hefyd heb ddarfod,
Tri Pherson, mewn Hanfod yn Un :
Fel ydoedd mewn nefol drigfannau,
Cyn bod y planedau na'r byd ;
Y mae ar yr amser presennol,
A bydd yn drag'wyddol o hyd.

### XXX.—10au.

Clodforwch Dduw, chwi ddynol-ryw i gyd,
Ef rydd o'r nen, bob bendith wen i'r byd,
Clodforwch Ef, chwi luoedd nef, ar gân,
Sydd Un a Thri, i ni yn Geidwad Glân.

### XXXI.—10. 11.

Gogoniant i'r Tad, i'r Mab yr un wedd,
Ac Ysbryd y gras, rydd gyssur a hedd ;
Fel 'roedd yn y dechreu, mae etto'n parhau,
A bydd yn wastadol trwy oesoedd di-drai.

### XXXII.—11au.

Clodforwch Jehofa yn llafar trwy'r llawr,
Clodforwch Ef luoedd y nefoedd yn awr ;
Clodforwch bêr Ffynnon bendithion y byd,
Clodforwch y Drindod fendigaid i gyd.

### XXXIII.—11. 12

Clodforwch yr Ion, drigolion y ddaear.
Clodforwch Ef fry mewn llonfyd yn llafar ;
Clodforwch ar gân y Drindod fendigaid,
Am iechyd a hedd i wir bechaduriaid :
Haleliwia i'r Tad, i'r Mab, ac i'r Ysbryd,
Fe'i molwn heb flino, 'nol tirio mewn gwynfyd.

# DANGOSEG

**I gael allan bob Hymn, wrth ei henw neu ei chynnwysiad.**

D. R. A W. REES, ARGRAFFYDDION, LLANYMDDYFRI.

